# CAMRAU

MEWN

# GRAMMADEG CYMREIG.

GAN

EMRYS AP IWAN.

"TRI PHETH Y DYLAI CYMRO EU CARU O VLAEN DIM:—CENEDL Y CYMRY, DEVODAU A MOESAU Y CYMRY, AC IAITH Y CYMRY."
*Un o "Driodd y Cymry."*

DINBYCH:
CYHOEDDWYD GAN THOMAS GEE.

MDCCCLXXXI.

# RHAGLITH.

---

## Y GYMRAEG, A'I PHERTHYNASAU.

PERTHYN ieithoedd yr Ind, Pers, a'r Armenia, a'r rhan fwyaf o ieithoedd Europ i'r boncyff mawr a elwir weithiau yn *Iaffetig*, weithiau yn *Aryaidd*, ac weithiau yn *Ind-Europaidd*. Y mae i'r boncyff hwn amryw gyffion, ac i bob cyff amryw ganghenau, neu frigau. Dyma y rhai penaf o honynt:—

I. Y CYFF INDIG: yr hwn a gynnrychiolir gan y Sanscrit —iaith nas lleferir mo honi er's talm bellach; ac o'r hon y tarddodd yr Hindwstanaeg, y Bengalaeg, y Mahrattaeg, a holl adieithoedd presennol yr Ind.

II. Y CYFF LLADINIG: o'r hwn yn benaf yr ymganghenodd yr Italaeg, y Ffrangcaeg, yr Yspaeneg, y Bortugaleg, a'r Walachaeg.

III. Y CYFF GROEGAIDD: yr hwn sydd yn cynnwys yr hen Roeg a'r Roeg bresennol.

IV.—Y CYFF YSLAFONIG: i'r hwn y perthyn y Rhussaeg, y Lithwanaeg, y Serfaeg, y Bwylaeg, y Fohemaeg, &c.

V. Y CYFF TEUTONIG: i'r hwn y perthyn yr Ellmynaeg, y Saesneg, yr Yswêdaeg, y Ddaeneg, y Norwyeg, &c.

| | | CANGHEN-IEITHOEDD. |
|---|---|---|
| VI. Y CYFF CELTIG. | *Y gaingc Uch-Geltig* | 1 Y GYMRAEG.<br>2 Y GERNYWAEG (wedi trengu).<br>3 Y LLYDAWAEG. |
| | *Y gaingc Is-Geltig* | 1 Y WYDDELAEG.<br>2 Y GAELEG.<br>3 Y FANAWAEG. |

Gellir canfod wrth yr enghreifftiau a roddir yn mhellach yn mlaen fod y tair iaith Uch-Geltig yn lled debyg i'w gilydd, ac fod y tair iaith Is-Geltig hwythau yn lled debyg i'w gilydd: ond canfyddir fod cryn lawer o wahaniaeth rhwng unrhyw un o'r ieithoedd Uch-Geltig ac unrhyw un o'r ieithoedd Is-Geltig. Er hyny, y mae yr ieithoedd Uch-Geltig a'r ieithoedd Is-Geltig yn tebygu digon i'w gilydd i ddangos eu bod oll yn perthyn i'r un cyff—neu i'r un tylwyth. Tybia rhai fod hen Ffichtaeg *(Pictish)* gogledd Prydain yn sefyll rhwng y Wyddelaeg a'r Gymraeg.

Nis gwyddir pa bryd y daeth y Celtiaid o'r dwyrain i Europ; ond wedi iddynt gychwyn, gellir casglu nad arosodd y corph o honynt ddim yn hir yn unlle nes dyfod o honynt ac ymsefydlu yn y wlad ag sydd y tu yma i'r Rhein a'r Alpau, yr hon y gellir ei galw yn rhydd yn 'Ffraingc,' neu 'Gâl.' Y mae yn sicr ddarfod iddynt feddiannu yr Ynysoedd Prydeinig yn foreu iawn; ac yr oeddynt er's rhai canrifoedd cyn Crist wedi llifo dros derfynau Gâl mewn cyfeiriadau eraill, a gorchuddio yr Yswissdir, Deheudir yr Allmaen, Gogledd yr Ital, a rhan o'r Yspaen. Tua'r flwyddyn 278 c. c., ymwthiodd lliaws o honynt hyd i Asia, a chyfanneddasant yn Ngalatia. Yn mhen rhai canrifoedd wedi hyn, ymgollodd Celtiaid y Cyfandir yn mhlith pobloedd o lwythau eraill; ac ymgollodd eu hiaith gyda hwynt, er fod olion o honi ar gael hyd heddyw.

Y mae yn anhawdd meddwl fod y Galiaid, sef Celtiaid y Cyfandir, yn gwneuthur un genedl, yn enwedig pan oedd dynion mor giwdodaidd *(clannish)*: ac y mae yn anhawddach fyth meddwl eu bod oll yn llefaru un iaith unffurf, pan nad oedd ganddynt lenyddiaeth i'w dal hi yn nghyd. Dïau eu bod, ar y cyntaf, yn un genedl, ac yn siarad yr un iaith; ond pan aethant yn lliosog ac yn wasgaredig, nis gall nad ymranasant yn llwythau ac yn dylwythau, ac nad ymranodd eu hiaith yn adieithoedd *(dialects)*—os nad yn wahanol ieithoedd hefyd. Pan ymfudai rhai o honynt o'u gwlad gyffredin i wlad arall, naill ai o achos cynnen neu o eisieu lle, gellir casglu mai yn un llwyth cyfan yr ymfudent; neu ynte y byddai amryw o'r llwythau agosaf eu preswylfod, a thebycaf eu tafodiaith, yn cyttuno i gydymfudo. Dichon fod y llwyth neu y llwythau Celtig a ddaeth trosodd yn gyntaf o Gâl i Frydain yn lled annhebyg eu hiaith a'u nawd, hyd yn

oed cyn cychwyn, i'r rhai a adawsant yno ar eu hol. Aethant yn fwy annhebyg fyth ar ol hir breswylio yn y wlad hon, yn enwedig os credwn y rhai sydd yn tystiolaethu ddarfod iddynt ymgymmysgu â phobl an-Ngheltig a ddaethai yma o'u blaen. Bernir wrth hen enwau, ac wrth benglogau dynol a gafwyd mewn hen garneddau, mai eppil Ffinnig, ac Iberaidd, neu ynte Ffinn-Iberaidd, oedd y bobl hyny.

Bernir yn lled unfryd mai y Celtiaid mwyaf gogleddol, sef y Ffichtiaid, a'r rhai mwyaf gorllewinol, sef hynafiaid y Gwyddyl a'r Cymry, a ymfudodd gyntaf o Gâl. Am y Ffichtiaid, nis gwyddir pa un ai ymsefydlu a wnaethant yn gyntaf oll yn nghwr de-ddwyreiniol Brydain, a chael eu gwthio oddi yno ar hyd y tir i'r gogledd gan lu o ymfudwyr Celtig diweddarach—dyweder y Gwyddyl—ai ynte myned i Galedonia ar hyd y môr a wnaethant, ac i barthau eraill yr ynys gael eu poblogi gan Geltiaid blaenorol. Gan nad beth am y Ffichtiaid, tystiolaetha y rhan fwyaf o'r dysgedigion diweddaraf ddyfod o'r Celtiaid Gwyddelig i'r ynys hon yn llawer boreuach na'r Celtiaid Cymreig: ymsefydlu o honynt ar y cyntaf yn y parthau agosaf i ororau Gâl: ddarfod eu gwthio yn mhen talm o amser tua'r gorllewin, ac o'r diwedd i'r Iwerddon gan ymfudwyr Celtig eraill, sef cyndadau y Cymry: yna darfod eu cilgwthio a'u disodli hwythau, yn eu tro, gan ymfudwyr diweddarach o Gâl, y rhai oedd erbyn hyn yn bur annhebyg eu hiaith iddynt: ddarfod goresgyn y rhan ddeheuol o diriogaeth y Galiaid neu y Celtiaid diweddaraf hyn gan heidiau o'r Belgiaid—pobl hanner Celtig a hanner Ellmynig oedd yn cyfanneddu rhwng preswylwyr Gâl a phreswylwyr yr Allmaen, sef *Germania;* a darfod goresgyn y rhan ogleddol o'u tiriogaeth, yn benaf oll gan Ellmyn digymmysg oddi tros y Môr Tawch. Erbyn dechreu y cyfnod Cristionogol, yr oedd y Galiaid, y Belgiaid, a'r Ellmyn hyn, ynghyd â briwsion y llwythau Gwyddelig a Chymreig, wedi ymgymmysgu â'u gilydd, a myned agos yn un bobl. Y bobl gymmysg hyn a ymostyngodd yn barotaf i'r Rhufeiniaid; a hwynthwy, ynghyd â gweddillion y llengoedd Rhufeinig, a ddarostyngwyd mor rwydd a llwyr gan y Sacsoniaid, a llwythau Teutonig eraill. Dïau ymgymmysgu o honynt hwythau, mewn amser, â chynnifer a'r a arbedasant. Yn ddiweddaf oll, gorchfygwyd y bobl gymmysgedig hyn gan y Normaniaid; ac yn

mhen rhai canrifoedd ymgymmysgasant hwythau â'r rhai a orchfygasent. 'Seison' ydyw yr enw presennol ar eppil y bobl gymmysg hyn, a 'Seisneg' y gelwir eu cymmysg-iaith.

Dengys hyn nad hiliogaeth pobl a wthiwyd gan y Sacsoniaid o eithaf y dwyrain i eithaf y gorllewin ydyw y Cymry; ond yn hytrach, hiliogaeth Celtiaid ag oedd yn cyfanneddu yn y rhan hon o'r wlad oesoedd lawer cyn dyfod Sacsoniaid, ïe, na Rhufeiniaid chwaith, i mewn iddi. Eddyf haneswyr goreu y Saeson eu hunain fod terfynau y Cymry a'r Gymraeg yn ymestyn agos cyn belled i'r gogledd, i'r dwyrain, ac i'r deheu, yn nechreu y seithfed ganmlwydd ag yr oeddynt yn amser Iwl Cæsar ac Agricol. Yr un iaith a lefarai y Cymry ar hyd llain gorllewinol Brydain, o waelod cwr uchaf yr Alban hyd eithaf Cernyw. Eithr pan lwyddodd y Saeson i wahanu y Cymry gogleddol a'r Cymry deheuol oddi wrth Gymry y gorllewin, sef Cymry Cymru, dirymwyd y genedl a'i hiaith. Ymgollodd Cymry Ystrad Clwyd, cyn hir, yn mhlith eu goresgynwyr, a threngodd eu hiaith. Ymlygrodd Cymraeg Cernyw gym maint—o'r hyn lleiaf, aeth mor annhebyg i'r Gymraeg a leferid y tu yma i Sianel Bristol—fel y cyfrifir hi yn ganghen-iaith arall o'r Geltaeg. Bu yn dafodiaith lafaredig am oesoedd, ac ysgrifenwyd rhai pethau ynddi; ond gan fod ei chylch yn fychan, dechreuodd hithau ddihoeni—ac yn yr oes o'r blaen, hi a drengodd.

Am y Llydawiaid, nid gweddillion Galiaid y Cyfandir ydynt, ond hiliogaeth lliaws o Gymry a ymfudodd i Ffraingc tua'r bummed ganmlwydd. Gan mai o Gernyw a Dyfnaint yr ymfudasant gan mwyaf, fe ddichon fod eu Cymraeg, hyd yn oed ar adeg eu hymfudiad, yn lled annhebyg i Gymraeg Cymru briodol. Erbyn hyn, y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng Cymraeg trigolion Llydaw a Chymraeg trigolion Cymru, fel y gellir dyweyd eu bod yn siarad dwy iaith wahanol.

Dychwelwn bellach at y gaingc Is-Geltig. Rhoddwyd ar ddeall fod y Gwyddyl a'r Cymry yn ddau lwyth gwahanol, a phob un yn siarad caingc wahanol o'r Geltaeg, er yn foreu iawn. Eithr yn hytrach na chyttuno â'r farn gyffredin, y mae yn haws gan y Dysgawdwr RHYS feddwl fod cyndadau y Gwyddyl a'r Cymry yn un bobl gyfiaith pan y daethant i'r ynys hon; ac i lu o honynt, yn fuan neu yn hwyr, fyned trosodd i'r Iwerddon, ac ymgymmysgu

yn raddol â'r bobl a ddichon fod yno o'u blaen. Dywed ef fod hyn, ynghyd â dylanwadau eraill amser a lle, yn ddigon o reswm am y gwahaniaeth mawr ag sydd yn awr rhwng iaith y Gwyddyl ac iaith y Cymry.

Gan nad beth am hyny, cydfarna y rhan fwyaf ddarfod i lu o Geltiaid fyned rywbryd, naill ai o'u bodd neu o'u hanfodd, o Frydain i'r Iwerddon, er fod rhai haneswyr Gwyddelig yn dywedyd mai o dueddau yr Yspaen yr aethont yno. Tua 500 B. A., hwyliodd haid o'r Ysgotiaid *(Scoti)*, sef y Gwyddyl, o'r Iwerddon i'r Alban, a chyfanneddasant y rhan orllewinol o honi. Ar eu hol hwy y galwyd Caledonia oll yn 'Ysgotland.' Meddiannasant Ynys Manaw hefyd—er nas gellir dywedyd yn sicr pa bryd. O hyn y mae fod iaith frodorol yr Ucheldiroedd, ac iaith frodorol Ynys Manaw mor debyg i'r Wyddelaeg. Gaeleg y gelwir Celtaeg yr Alban, a Manawaeg y gelwir Celtaeg Ynys Manaw. Dyma'r ddwy gangheniaith fwyaf llygredig a berthyn yn awr i'r cyff Celtig.

Wele yn canlyn enghreifftiau o'r ieithoedd a'r adieithoedd Celtig. Fe'u cymmerwyd o'r "*Celtic Hexapla*," a'r "*Parabola de Seminatore*" (Dammeg yr Hauwr), y rhai a gyhoeddwyd gan y TYWYSOG LOUIS-LUCIEN BONAPARTE.

### CANIAD SOLOMON V. i.—YN Y GYMRAEG.

**Deuthum i'm gardd, fy chwaer a'm dyweddi: cesglais fy myrr gyd â'm per-arogl, bwyteais fy nil gyd â'm mel, yfais fy ngwin gyd â'm llaeth: bwytewch, gyfeillion; yfwch, ïe, yfwch yn helaeth, fy rhai anwyl.**

### YN Y LLYDAWAEG, neu Y FRYTHONEG.

**Deûed ounn em liors, va c'hoar, va friéd: kutulet em eûz va myrrh ga*n*t va louzou c'houés-vâd; debret em eûz ann diren ga*n*t va mél; évet em eûz va gwîn ga*n*t va léaz; debret, va miñouned, évid, ya, évét hô kwalc'h, va miñounet.**

### ETTO:—ADIAITH VANNES.

**Deid-on ém liorh, me hoér, me frièd: védet e mès me myrrh guet me lezeu; daibret e mès men dirèn guet me mèl; ivet e mès men gùin guet me léah; daibret, pautrèt, ivet, ya, ivet a leih, me muian-caret.**

### Yn y Wyddelaeg.

ATÁIM ar tteaċt dom' ġarḋaḋ a ḋeirbṡiur, a ḃaincéile: do ċruñiġ mé mo ṁirr, agus mo spíosraḋ; a duaiḋ mé mo ċriatar ṁeala maille re mo ṁil; d'íb mé m'ṗíon lem' ḃaiñe: ítiḋ, a ċairde; íbiḋ, íbiḋ fós go lór, a aos ġráḋa.

### Yn y Gaeleg.

Tha mi air teachd do m' lios, a phiuthar, a chéile; thionail mi mo mhirr maille ri m' spìosraidh; dh' ith mi mo chìr-mheala maille ri m' mhil; dh' òl mi m' fhìon maille ri m' bhainne. Ithibh, a chairde, òlaibh, seadh, òlaibh gu pailt, a luchd mo ghràidh.

### Yn y Fanawaeg.

Ta mee er jeet stiagh ayns my gharey, my huyr, my ven heshey, ta mee er haglym yn myrrh, marish ny spiceyn millish, ta mee er ee my chere-volley marish my vill, ta mee er iu my feeyn marish my vainney; eejee, O my chaarjyn, iu-jee, dy jarroo, iu-jee dy palchey, O my ghraihaltee.

### Mathew xiii. 3—7.—Yn y Gymraeg.

Wele, yr háuwr a aeth allan i hau.

Ac fel yr oedd efe yn hau, peth a syrthiodd ar fin y ffordd; a'r adar a ddaethant, ac a'i difasant.

Peth arall a syrthiodd ar greig-leoedd, lle ni chawsant fawr ddaear: ac yn y man yr eginasant, gan nad oedd iddynt ddyfnder daear:

Ac wedi codi'r haul, y poethasant; ac am nad oedd ganddynt wreiddyn, hwy a wywasant.

A pheth arall a syrthiodd yn mhlith y drain; a'r drain a godasant, ac a'u tagasant hwy.

### Yn y Llydawaeg.

Chétu ann hader a zô éad er-méaz da hada.

Hag é-pâd ma hadé, lôd eûz ann hâd a gouézaz a-héd ann heñt, ha laboused ann eñv a zeûaz hag hé zebraz.

Lôd all a gouézaz enn eul léac'h meinek, é péléac'h né oa két kalz a zouar: hag é savaz kerkeñt, dré né oa kéd a zounder douar.

Hôgen pa zavaz ann héol é oé losket: hag ô véza n'en doa kéd a c'hrisien, é sec'haz.

Lôd all a gouézaz é-touez ann drein: hag ann drein a greskaz, hag a vougaz anézhañ.

### Etto :—Adiaith Treguier.

An, hini a had, a sortias evit hadan greûn.

Hac evel ma voe o vond da hadan, lod deus he c'hreûn a goueas hed an hend hac ar lapouzed deus an nenv a zeuas hac en dêbas.

Lod al a gouëas en andrejo meïnec, elec'h na voe quet calz a zouar, hac e savas querquent, abalamour na voe quet a zonder douar.

Mes querquent ha ma voe savet an heol, ar glazur a voe losquet, hac, evel n'o defoe quet a c'hrio, a sec'hchont;

Lod al a gouëas en touez ar spern, pere o vean deud da grisquin he mougas;

### Yn y Wyddelaeg :—Adiaith Connacht.

Féuch, do chuáidh síoladóir a mach do chur síl ;

Agus ag cur an tsíl dó, do thuit cuid dhe chois na sligheadh, agus tangadar na héanlaith, agus a dúadar é :

Agus do thuit cuid eile dhe a bhfearan chlochach, mar nach raibh mórán úire aige: agus do fhás sé go lúath, do bhrígh nach bhfúair sé doimhneachd na talmhan:

Agus ar néirghe don ghréin, do dóidheadh é; agus ar son nach raibh fréumh aige, do shearg sé.

Agus do thuit cuid eile dhe eidir mhuineach; agus do éirghe an muineach súas, agus do mhuch sé é.

### Etto :—Adiaith Munster.

Feuch, do chuaidh síoladóir amach ag cur síl.

Agus ag cur an tsíl do, do thuit cuid de cois na slíghe, agus tháinigh na héanlacha agus d'itheadar suas é :

Do thuit cuid eile dhe air thalamh bhí lán do chlocha, áit ná raibh mórán cré aige; agus dfhás sé suas d'urchar mar ná raibh doimhníos na talmhan aige:

Agus air éiríghe don ghréin do dóghag é; agus mar ná raibh aon phreumh aige, do chríon se:

Agus do thuit cuid eile dhe a measg deilgnídhe; agus dfhás na deilgnídhe suas, agus do mhúchadar é.

### Yn y Gaeleg.

Feuch, chaidh sìoladair a mach a chur sìl.

Agus ag cur an t-sìl da, thuit cuid dheth ri taobh an rathaid; agus thàinig na h-eunlaith agus dh'ith iad e.

Thuit cuid air iondaibh creagach, far nach robh mòran talmhainn aige; agus air ball dh'fhàs e suas, do brìgh nach robh doimhneachd talmhainn aige.

Ach air éirigh do'n ghréin dhothadh e; agus, do brìgh nach robh freumh aige, shearg e as.

Agus thuit cuid am measg droighinn: agus dh'fàs an droighionn suas, agus mhùch se e.

### YN Y FANAWAEG.

Cur-jee my-ner, hie correyder magh dy chuirr.

As myr v'eh cuirr, huitt paart jeh'n rass rish oirr y raad, as haink ny eeanlee, as d'ee ad seose eh.

Huitt paart er thalloo cloaie, raad nagh row mooarane ooir: as daase eh er-y-chooyl, er-yn-oyr nagh row diunid hallooin echey:

As tra ghow yn ghrian niart, ve fiojit; as er-yn-oyr nagh row eh er n'ghoaill fraue, ren eh shymley ersooyl.

As huitt paart mastey drineyn: as daase ny drineyn seose as phloogh ad eh.

Ni fedrais gaffael yr adnodau uchod yn y Gernywaeg; am hyny rhaid imi roddi adnodau gwahanol yn enghraifft o'r adiaith hono. Cafwyd y rhai isod yn y llyfr a elwir "*Mount Calvary. Interpreted in the English Tongue, in the year* 1682, *by* JOHN KEIGWIN, *gent. Edited by* DAVIES GILBERT, F.R.S., F.S.A., &c., 1826."

### GENESIS i. 1—5. YN Y GERNYWAEG.

1 En dallath Deawe wraze neave ha an eare.

2 Ha therrah an beaz reb compostor ha reb kenefratra: ha tulder rag meare a downder ha speres Deawe reege gwayeyoch worr bedgeth an dowre.

3 Ha Deawe laveras gurenze boze gooloh ha therrah goolloh.

4 Ha Deawe a wellas an goolloh tha boaze dah: ha Deawe deberhas an golloh thort an tulder.

5 Ha Deawe a grias an goolloh tha deathe ha an tulder eave a grias noze, ba metten, ha gurthuher owe an Kenssa Jornah.

---

Gellir rhanu y Gymraeg, o ran ei hanes, yn dri chyfnod; sef, *Hen Gymraeg*, *Cymraeg Canoloesol*, a *Chymraeg Diweddar*. Y mae'r Dysgawdwr RHYS yn chwanegu dau gyfnod arall; sef, *Cymraeg Cynhanesol*, a *Chymraeg Cynnar*. Ond gan nad oes dim enghreifftiau o Gymraeg Cynhanesol, nac odid ddim o Gymraeg Cynnar, tybiaf fod yn well hebgor y ddau gyfnod yna—yn enwedig mewn llyfryn a fwriadwyd i'r cyffredin.

Po hynaf y byddo yr iaith Gymreig, lleiaf oll a geir o lythyrenau dyblyg ynddi, a lleiaf oll a welir o newidiad ar y llythyrenau hyny ag sydd yn awr yn newidiadwy. Felly, ceir 'cinicier,' am 'cynny*g*ier;' 'a *d*oded,' am 'a *dd*oded;' 'ana*m*ou,' am 'ana*f*au;' 'a *p*erchen,' am 'a *ph*erchen;' a 'da*t*l,' am 'da*d*l,' &c.

## I. HEN GYMRAEG, 750—1150.

Y mae Cymraeg y cyfnod hwn, gan mwyaf, yn gerfiedig ar feini, ac yn ysgrifenedig ar wâgleoedd hen lawysgrifau Lladinig. Wele un neu ddwy o enghreifftiau:—

*Cerfiad ar fedd* CADFAN SANT, *yr hwn a wnaethpwyd tua'r wythfed ganmlwydd.*

Cincencelen arteruncdubutmarciau.
Tengrugcicmal ted guadgan marth molt clode tuar
tricet nitanam.

*Dau o'r pennillion a ysgrifenwyd, tua dechreu y nawfed ganmlwydd, yn y* "CODEX JUVENCUS."

Un hanied napuil heper
Uuc nem isnem nitcouer
Nit guorgnim molim map meir.
* * *
Na mereit mi nep leguenid—henoid
Is discnir mi coueidid
Dou nam riceus unguetid.

## II. CYMRAEG CANOLOESOL, 1150—1550.

Cynnwys y cyfnod hwn yr holl hen lawysgrifau Cymreig hyd o ddeutu yr amser y dechreuwyd argraphu yn Nghymru. Yn y cyfnod hwn yr ysgrifenwyd "*Cyfreithiau Hywel Dda,*" "*Llyfr Du Caerfyrddin,*" "*Y Mabinogion,*" "*Y Brutiau,*" a llawer o'r caneuon a briodolir i'r Cynfeirdd. Am rai o'r pethau hyn, tybir mai eu hadysgrifenu a wnaed yn y cyfnod hwn, ond ddarfod eu cyfansoddi, mewn rhyw ddull, yn y cyfnod o'r blaen.

*Dernyn o 'awdyl,' a ysgrifenwyd yn y* "LLYFR DU," *yn nghorph y ganmlwydd* 12.

Ystarnde wineu fruin guin. redec hiraethauc raun rin. ren new. oet reit duu genhin. Ystarnde winev birr y blev. ruit igniw rygig. ot- ew. mynyd vo truin. yt uit trev.—*Myv. Arch.*, td. 379.

*Enghraifft o* ' GYFREITHIAU HYWEL," *fel y'u hysgrifenwyd yn y ganmlwydd* 13.

Pan torer naut ebrenin sarhaet eu idau ahono atelir idau heruet iuerein. A oes unlhe ebar no enad braut eniuaratdele niddeleher emustalaau ac eef oes ene lhe emae nauet taudauc enad anbraut. —*Myv. Arch.*, td. 1010.

*Un o Drioedd Ynys Prydain, allan o'r* "LLYFR COCH O HERGEST." *Ysgrifenwyd yn y ganmlwydd* 14.

Teir drut heirva ynys Prydein. Un o nadunt pan doeth Medrawt y lys Arthur yg Kelli wig yg Kernyw. nyt edewis na bwyt na diawt yn y llys nas treulyei. a thynu Gwenhwyuar heuyt oe chadair Vrenhinyaeth. ac yna y trewis balvawt erni. yr eil drut

heirua pan doeth Arthur y lys Medrawt. nyt edewis nac yn y llys nac yn y Cantref na bwyt na diawt.—*Myv. Arch.*, 396.

*Un o'r Trioedd; allan o* "LYVYR Mr. R. VAUGHAN, o'r HENGWRT."
*Ysgrifenwyd yn y ganmlwydd* 15.

Teir drut aerfa Y. P. un o naddynt pan ddeuth Medrawt y Gelliwig yng Hernyw, nyt edewis yn yllys na bwyt na diawt nys treuliei, a thynnu Gwenhwyfar oi rhieingadair. Yr eil pan ddaeth Arthur i lys Medrawt, na bwyt na diawt nys treuliei, na dyn na llwdn yn fyw yn y Cantref: ar trydydd aerfa pan ddaeth Aeddan Vradog hyt yn Alclut i lys Rhydderch hael nyt edewis na bwyt na llynn, na llwdn yn fyw.—*Myv. Arch.*, 391.

*Salm* 147, *yn yr* "OFFICIUM B. MARIÆ." *Ysgrifenwyd y Gwasanaeth hwn, yn y wedd sydd arno yn y* "MYVYRIAN," *yn nechreu y ganmlwydd* 16; *sef, pan oedd y Gymraeg yn troi i'w ffurf bresennol.*

Canmawl, Gaerusalem, dy Arglwydd Iôn
Canmawl dy Arglwydd dithau Sion
Canys cadarnhaawdd gloiau dy byrth
Bendigawdd dy faibion ytt yn yngyrth
Dodes heddwch ith derfynau a da
O frasder y gwenith ef ath gyflawnhaa
Ef a enfyn ir ddaear ei barabl
Ebrwydd y rhydd ei ymadrawdd digabl
Y gwr a rydd yr eiry megys y gwlan
Niwl ai gwasgara megys lludw man
Ef a enfyn y crisiallt megis tammeidiau
Pwy oddef rhag wyneb ei oerus loesau
Enfyn ei air ac ef a ddaw i werthnebedd
Dywawd ei yspryd hwy a lithrant i ddyfredd
Yr hwn a fenyg i Iacob ei air diwael
Ei gyfiawnder ai farnau i bobl yr Israel
Ni wnaeth efe felly i bob cenedl yn hawdd
Ai farnau iddynt nis damlewychawdd.

## III.—CYMRAEG DIWEDDAR.

Er mwyn arfer 'nifer crwn,' ni a ddywedwn fod y cyfnod hwn yn ymestyn o'r flwyddyn 1550—neu, o'r pryd y dechreuwyd argraphu yn Nghymru—hyd yr awr hon. Cyhoeddiad Grammadeg GRUFFYDD ROBERTS, yn 1567, a Chyfieithiad Cymreig DR. MORGAN o'r Ysgrythyrau, yn 1588, a fu'r moddion penaf i ddwyn y Gymraeg i'r ffurf sydd arni yn bresennol. Gan na fu nemawr o newidiad ar y Gymraeg ar ol ymddangosiad "Beibl y DR. MORGAN," nid oes achos rhoi enghreifftiau o'i Gymraeg ef, nac o Gymraeg ysgrifenwyr diweddarach. Er hyny, y mae lle i ofni y daw yn fuan gyfnod arall a mwy dirywiedig, os nad ymettyl corph ein siaradwyr a'n hysgrifenwyr rhag cymmeryd arnynt addysgu eraill, o'r pulpud a thrwy y

wasg, hyd nes y byddont eu hunain wedi trwytho eu meddwl yn iaith yr Ysgrythyr Lân, y "*Mabinogion*," y "*Gweledigaethau*," a "*Hanes y Ffydd*." Pe na ddarllenai dyn ddim ond y Beibl yn unig, *megys y dylid darllen*, byddai hyny ei hun yn ddigon i'w gadw rhag ysgrifenu yn wael. Ond y gwir ydyw, mai ychydig sydd yn darllen er mwyn coethi eu hunain—er fod llawer yn darllen er mwyn caffael gwybodaeth, a chwaneg fyth yn darllen er mwyn caffael difyrwch.

---

ENWAU RHAI O'R LLYFRAU YR YMGYNGHORWYD A HWYNT.

'Dosparth,' neu Rammadeg Edeyrn Dafod Aur.
Wallicæ Grammatica, gan Dr. Dafis o Fallwyd.
Grammar of the Welsh Language, by William Spurrell, 1870.
Grammar of the Welsh Language, by Thomas Rowland, 1876.
Grammatica Celtica, J. C. Zeuss.
Sketch of Cornish Grammar, by Edwin Norris.
Grammaire Celto-Bretonne, par Le Gonidec.
Grammar of the Irish Language, by P. W. Joyce, LL. D.
Lessons in Irish, by Ulick J. Canon Bourke.
First, Second, and Third Irish Books, published by M. H. Gill & Son, for the 'Society for the Preservation of the Irish Language.'
Cafwyd peth cymmhorth mewn Grammadegau ieithoedd an-Ngheltig hefyd; megys, Grammadegau Seisnig Bain, Smith, Morris, Thring; Grammadegau Ffrengig Borel, a De Fivas; Grammadegau Ellmynig Otto, a Lebahn; Grammadeg Yspaenig Sauer, &c.
Lectures on Welsh Philology, by John Rhys, M. A.
Celtic Studies, by Dr. H. Ebel, with an Introduction by W. K. Sullivan.
Die noch lebenden keltischen Völkerschaften, &c., von F. K. Meyer.
Hanes y Brytaniaid a'r Cymry, gan Gweirydd ap Rhys.
Y Gwyddoniadur, cyhoeddedig gan T. Gee, Dinbych.
Dictionnaire Universel des Sciences, des Lettres et des Arts, par M. N. Bouillet.
Myvyrian Archaiology of Wales, published by T. Gee, Denbigh.
Etymologisches Wörterbuch, von Friedrich Diez.

I'r DR. A. BAIN yr wyf yn fwyaf dyledus am reolau cyffredinol, ac i'r Parchedig T. ROWLAND am rai neillduol.

Y mae arnaf ddiolch arbenig i Mr. R. J. Thomas, Liverpool, am gymmharu yr adnodau anghyfiaith, a gynnwysir yn y Rhaglith, â'r llyfrau anmhrynadwy, o'r rhai y'u cymmeraswn. Gwyn eu byd y bobl a ddichon fyned yn fynych i Lyfrfa fawr Liverpool.

YR AWDWR.

# CYNNWYSIAD.



## Y CAM CYNTAF.—BRAWDDEG.



## YR AIL GAM.—Y RHANAU YMADRODD.

### YR ENW.



### Y RHAGENW.

---

## Y TRYDYDD CAM.—TREIGLIAD.

---

## Y PEDWERYDD CAM.—CYSTRAWIAETH.

---

CHWANEGIAD.

## Y CAM CYNTAF.

### BRAWDDEG.

1. Gwneir iaith o frawddegau, brawddegau o eiriau, a geiriau o lythyrenau.

2. Pob dywediad, haeriad, neu osodiad a fyddo yn gyflawn ynddo ei hun, BRAWDDEG ydyw.

3. Rhaid i bob brawddeg gynnwys dau beth, o'r hyn leiaf; 1af, Y person neu y peth y crybwyllir am dano; 2il, Yr hyn a fynegir am y person neu y peth hwnw.

4. SYLFON y gelwir y peth a grybwyllir; a MYNEGIAD y gelwir y peth a fynegir am y sylfon.

5. Gall dau air gynnwys y sylfon a'r mynegiad hefyd;

**[Y gair mewn llythyrenau Italaidd yw *y* sylfon.]**

| | | |
|---|---|---|
| Ystyria *gwr.* | Craffa *gwraig.* | Sylwa *plentyn.* |
| Gweryra *meirch.* | Crina *prenau.* | Rhyda *haiarn.* |
| Crymodd *Bel.* | Plygai *Nebo.* | Cysgasai *Adda.* |

Yn yr enghreifftiau uchod, fe saif y mynegiad o flaen y sylfon. Os myn neb gyfleu y sylfon yn mlaenaf, er mwyn taflu e hono yr arbwys arno, rhaid iddo ddodi y geiryn *a* rhyngddo a'r mynegiad; megys,

Dafad *a* frêf. March *a* weryra. Bel *a* grymodd.

6. BRAWDDEG NOETH y gelwir pob un o'r enghreifftiau a roddwyd. Gelwir brawddeg yn 'noeth,' pan na chynnwyso ond y ddau air sydd yn anhebgor i roddi ystyr. ENW y gelwir y gair ag sydd yn nodi'r sylfon. MYNEGAIR, neu FERF, y gelwir y gair sydd yn rhoddi y mynegiad; megys,

Crina (mynegair) prenau (enw).
Crymodd (mynegair) Bel (enw).
Dafad (enw) a frêf (mynegair).

Weithiau, megys y gwelir, ni chynnwys y sylfon ond un person neu beth; megys, 'Bel.' Bryd arall, cynnwys ddosparth; megys, 'prenau.' Gwelir hefyd fod y mynegair yn nodi *amser* y weithred neu y ffaith a fynegir; megys, 'brêf'—yr amser y sydd, ac a fydd. 'Crymodd'—yr amser a fu.

Pe y gellid traethu pob rhyw feddwl mewn dau air o'r fath yna, ni byddai mewn grammadeg ond dau ddosbarth o eiriau, neu ddau RAN-YMADRODD; sef, *Mynegair* ac *Enw.*

7. Dau *brif* air sydd mewn brawddeg hir, fel mewn un fer. Nid yw yr holl eiriau eraill amgen na CHYNNORTHWYON, neu CHWANEGIADAU.

8. Pan gynnwyso'r sylfon amryw eiriau, y mae ynddo yn gyffredin un prif air; sef, enw. Chwanegiadau yw y lleill.

Chwery cathod ieuaingc.

*Cathod ieuaingc* yw y sylfon. Yr enw, *cathod,* yw y prif air. Chwanegiad yw *ieuaingc.* Y mae i'r gair *cathod* ystyr arno ei hun; ond nid oes ystyr i'r gair *ieuaingc,* oddi eithr pan gyssylltir ef â rhyw enw.

Dysgleiriai ei wyneb.

*Ei wyneb* yw y sylfon. Yr enw, *gwyneb,* yw y gair penaf. Gair chwanegol yw *ei.*

Daeth yr awr.

*Yr awr* yw y sylfon. Yr enw, *awr,* yw y gair penaf. *Yr* ydyw y chwanegiad. Nid unrhyw awr, na phob awr, ond awr neillduol a feddylir wrth *yr awr.* Gan hyny, y mae *yr* (neu *y)* weithiau yn cyfyngu ystyr yr enw a ddelo ar ei ol. Weithiau, ei helaethu y mae, megys yn yr ymadrodd hwn,—'Y llew yw brenin y goedwig.' Nid rhyw lew neillduol ddim; ond y math neu y dosbarth hwnw o greaduriaid a elwir 'llewod.'

Cysgodd y dynion hyny.

*Y dynion hyny* yw y sylfon. Yr enw, *dynion,* yw y prif air; ac *y,* a *hyny,* yw y geiriau chwanegol.

CYFENWAU y gelwir y geiriau *ieuaingc*, *ei*, *y*, (neu *yr)*, a *hyny*.

9. Pan gynnwyso'r *mynegiad* amryw eiriau, y mae ynddo, yn gyffredin, un prif air; sef mynegair. Chwanegiadau yw y lleill.

Priododd Boas Ruth.

*Priododd Ruth* yw y mynegiad. Y mynegair, *priododd*, yw y prif air. Chwanegiad yw yr enw, *Ruth*. Ac fe'i gelwir yn WRTHDDRYCH y mynegair, *priododd*. Ni roddid syniad llawn am waith Boas yn priodi, os na ddywedid pwy a briododd. Yr ydys wrth nodi gwrthddrych y mynegair, gan hyny, yn cyflawni (*complete*) y mynegiad, neu yn helaethu (*enlarge*) y mynegair. MYNEGAIR GWRTHDDRYCHOG; sef, mynegair â gwrthddrych iddo—sydd yn cymmeryd y chwanegiad hwn. MYNEGAIR DI-WRTHDDRYCH—sef, mynegair heb wrthddrych iddo, megys *rhedodd*, *nofiodd*—y gelwir un na chymmer y cyfryw chwanegiad.

Dealler nad yw y gwrthddrych, yn wirioneddol, ond rhan o'r mynegiad; ond gan ei fod yn enw, neu yn air cyfystyr âg enw, gellir chwanegu ato fel at y sylfon; megys,

Arbedodd Duw Lot *gyfiawn*.
Lladdodd Cain *ei* frawd.
Ysgoegyn a ddiystyra iaith *ei wlad*.
Anmharchodd Edward I. *y tywysog* Dafydd.

10. Y mae rhai mynegiadau na chymerant wrthddrych; ond sydd, er hyny, yn gofyn enw neu gyfenw i gyflawni eu hystyr; megys,

Yr wyf fi—yn droseddwr.
Y mae hi—yn oer.
Diana sydd—fawr.
Aeth gwas Benhadad—yn frenin.
Aeth y brenin—yn hen.

Weithiau, saif y geiriau fydd yn cyflawni yr ystyr o flaen y mynegair; megys,

*Amaleciad* wyf fi.
*Du* ydwyf fi.
*Mawr* yw Diana.

MYNEGEIRIAU ANGHYFLAWN y gelwir *wyf*, *mae*, *sydd*, ac *yw*. Gelwir yr enw, neu y cyfenw, sydd yn eu cyflawni, yn GYFLAWNIAD. Gelwir y mynegair anghyflawn a'r cyflawniad ynghyd yn FYNEGIAD CYFANSAWDD.

**11.** Gellir helaethu y mynegiad, nid yn unig trwy nodi gwrthddrych y mynegair, ond hefyd trwy chwanegu gair neu eiriau i gymmesuro y weithred a nodir gan y mynegair; megys,

*Tranoeth*, Ioan a ganfu yr Iesu.
Bugeiliai tywysogesau *gynt*.
Aeth y bachgen *adref*.
Daw yr athraw *yma*, *heno*.

AMGYLCHIAID neu OREIRIAU y geilw grammadegwyr y geiriau *tranoeth*, *gynt*, *adref*, *yma*, *heno*. Gelwir hwynt yn Amgylchiaid *(Ell. Umstandswörter)*, am mai eu swydd ydyw nodi yr amgylchiadau lleol, amserol, moddol, &c., sydd yn penderfynu ystyr y mynegiad.

Yn y Gymraeg, cynnwysa y rhan fwyaf o'r amgylchiaid chwaneg nag un gair; megys,

Gwasanaethwch yr Arglwydd *mewn llawenydd*.
Deuwch o'i flaen ef *â chân*.
Y nos a gerddodd *yn mhell*.
Gweddïodd Ystyffan *wrth farw*.
Bu farw Ystyffan *tan weddïo*.

RHAGDDODIAID y gelwir y geiriau *mewn*, *â*, *yn*, *wrth*, *tan*; ac fe'u gelwir felly, am y byddys yn gyffredin yn eu dodi o flaen enwau, cyfenwau, a mynegeiriau, er mwyn ffurfio amgylchiaid cyfansawdd (*adverbial phrases*).

**12.** *Cyssylltu* ymadroddion yw gwaith un dosbarth o eiriau; megys,

Trigodd Abram yn nhir Canaan, *a* thrigodd Lot yn ninasoedd y gwastadedd.

Bugail defaid oedd Abel; *ond* llafurio y ddaear yr oedd Cain.

CYSSYLLTIAID y gelwir *a*, ac *ond*.

**13.** Pan y byddo y sylfon a'r gwrthddrych yn hysbys, ni raid eu henwi. Gwna cyfeiriad atynt y tro.

RHAGENWAU y gelwir y geiriau y mae y cyfeiriad hwn ynddynt:—Dywedodd Ahab wrth Elïas, a gefaist *ti fi*? Cyfeiria y gair *fi* at Ahab, a *ti* at Elïas.

Y mae llawer o'r mynegeiriau Cymreig yn cynnwys y rhagenwau oll (oddi eithr *ef* a *hi*) yn eu terfyniadau. Cynnwysant, gan hyny, y sylfon a'r mynegiad; megys,

Can*af*: rhedas*och*: chwiban*ent*.

Y mae y geiriau yna yn gyfystyr â'r ymadroddion hyn:—
Canaf *fi*—yr hwn sydd yn llefaru. Chwibanent *hwy*—y rhai y llefaraf am danynt. Rhedasoch *chwi*—y rhai a gyfarchaf.

Y mae llawer Mynegair Cymraeg âg *ym* yn ei ddechreu yn cynnwys y gwrthddrych hefyd ynddo ei hun. Mewn ymadrodd a gynnwysa fynegair felly, nid yw y gwrthddrych, gan fynychaf, amgen na'r sylfon wedi troi yn wrthddrych iddo ei hun. Gan nad beth am hyny, gwasanaetha un gair âg *ym* yn ei ddechreu, yn lle dau air o'r hyn lleiaf:—

*Ym*binciodd Iesbel.
*Ym*grogodd Suddas.
*Ym*gusana cariadau.

Yr un peth a fyddai dyweyd; Pinciodd Iesbel *Iesbel*, neu, Pinciodd Iesbel *ei hun*. Crogodd Suddas *ei hun*. Cusana cariadau *eu gilydd*—neu *y naill y llall*.

14. RHANAU YMADRODD y gelwir y saith dosbarth o eiriau y crybwyllwyd am danynt. Fel hyn y trefnir hwynt,—*Enw*, *Rhagenw*, *Cyfenw*, *Mynegair*, *Amgylchiad*, *Rhagddodiad*, *Cyssylltiad*.

Y mae y rhagenw, y rhagddodiad, a'r cyssylltiad yn hollol ddiystyr, pan y safont ar eu penau eu hunain.

Y mae y cyfenw a'r amgylchiad, ar eu penau eu hunain, yn anghyflawn eu hystyr.

Ond y mae i'r enw a'r mynegair ystyr arnynt eu hunain.

---

15. Gan ddarfod rhoddi i'r dysgydd frâs syniad am y rhanau ymadrodd, dïau y gall bellach ddeall y sylwadau manylach sydd yn canlyn.

16. Gadewir y sylfon allan yn llwyr:—1af, pan y bydd yn hysbys; neu, 2il, pan y bydd yn anmhennodol; megys,

1 { Twyllwyd Efa [gan y sarph].
  { Arch Duw a ddaliwyd [gan y Philistiaid].

2 { Fe'm clwyfwyd i [gan rywun].
  { Diystyrir y tlawd [gan laweroedd].

MYNEGEIRIAU AMMHERSONOL y gelwir rhai o fath *twyllwyd*, a *clwyfwyd;* ac fe'u harferir, yn gyffredin, pan y mynir gosod arbenigrwydd, yn hytrach ar y weithred nag ar y gweithredydd.

**17.** Gadewir y mynegair *yw* allan yn fynych mewn brawddegau dïarebaidd; a gadewir allan fynegeiriau eraill hefyd mewn brawddegau cynnhyrfus, tanllyd; megys,

Hir [yw] pob aros.
Dig [yw] pob colledig.
[Aed] Pawb i'w pebyll, O Israel!
[Brysiwch] I'r Eryri, ddewrion!—i'r Eryri!

**18.** Weithiau, nid enw, ond gair neu eiriau cyfystyr âg enw, fydd yn cynnwys *sylfon* brawddeg; megys,

*Rhagenw.*—*Mi* a briodais wraig. Troseddas*och.*
*Cyfenw.*—Llaw y *diesgeulus* a deyrnasa.
*Mynegair.*—Dedwyddach yw *rhoddi* na *derbyn.*

**19.** Weithiau, nid enw, ond gair neu eiriau cyfystyr âg enw, a fydd yn cynnwys *gwrthddrych* brawddeg; megys,

*Rhagenw.*—Y dyrfa a'*u* llabyddiant *hwy.*
*Cyfenw.*—Diddenwch y *gwan* eu meddwl.
*Mynegair.*—Câr plant *chwareu.*

**20.** Gellir helaethu y sylfon a'r gwrthddrych, nid yn unig trwy chwanegu cyfenw at yr enw, ond hefyd trwy chwanegu ato rywbeth cyfystyr â chyfenw; megys,

*Enw eglurhaol.*
Gwnaeth Moses sarph *bres.*
Y mae sŵn *rhyfel* yn y gwersyll!
Llongau *Tarsis*, udwch!
Nesaodd teyrnas *nefoedd.*

*Enw, gydag* o.
Gwna it' arch *o goed.*
Gŵr wyf fi, yn wir, *o Iuddew.*
Os bydd gydag ef genad *o ladmerydd.*
Yr oedd i Phylip ferched *o forwynion.*

*Mynegair.*
Efe a lwyr lanhâ ei lawr *dyrnu.*
Pryd *hau* ni phaid mwy.
Fe'u lladdwyd wrth y tŷ *cneifio.*
Wele, cymmer gryman *ysgythru.*

| | |
|---|---|
| *Mynegair, gyda Rhagenw dealledig.* | Ffiaidd yw pob ehediad ... *a ymlusgo.*<br>Gobaith ... *a oeder* a wanhâ y galon.<br>Claddasant y dyn ... *a fuasai farw.*<br>Cefais fy nafad ... *a gollasid.* |
| *Geiriau amryw.* | Gŵr *halogedig ei wefusau.*<br>Dyn *â chanddo law wedi gwywo.*<br>Dinas *âg iddi sylfeini.*<br>Tyrfa *yr hon ni allai neb ei rhifo.* |

Gellid arfer cyfenw yn lle y rhan fwyaf o'r geiriau âg iddynt lythyrenau Italaidd megys, *Iuddewig*, yn lle 'o Iuddew;' *golledig*, yn lle '[yr hon] a gollasid;' ac *aneirif*, yn lle 'yr hon ni allai neb eu rhifo.'

**21.** Weithiau, bydd geiriau a berthynant o ran eu ffurf i un dosbarth, yn perthyn o ran eu hystyr i ddosbarth arall,

Er mwyn gwybod i ba ddosbarth, neu ran ymadrodd, y perthyn gair, dylid ei farnu wrth ei ystyr, ac nid wrth ei ffurf—wrth ei waith, ac nid wrth ei wisg: canys bydd gair, weithiau, yn newid ei waith heb newid ei wisg. O herwydd pa ham, nis gellir dosbarthu geiriau felly, fel y galler dyweyd am enw, 'Dyma enw bob amser;' ac am gyfenw, 'Dyma gyfenw bob amser.'

ENGHREIFFTIAU.

*Enw.*—Glynwch wrth y da. A delir drwg tros dda? Fel y mae y da, felly y mae y pechadur. Y mae genyt dda lawer.

*Cyfenw.*—Gâd im' weled y wlad dda. Gŵr da sydd gymmwynasgar. Athraw da, pa beth da a wnaf? Da, was *da* a ffyddlon.

*Amgylchiad.*—Da, was da a ffyddlon. Da y gwnaeth efe bob peth. Da y prophwydodd Esaias. Rhedasoch yn dda.

**Marw.**

*Enw.*—Rhoddwch i mi feddrod fel y claddwyf fy *marw.* Nac wylwch dros y *marw.* Dy fab di yw y *marw.* *Marw* sydd elw.

*Cyfenw.*—Wele dyn *marw* wyt ti. Gwell yw ci byw na llew *marw.* Y mae y corph yn *farw* o herwydd pechod. Ffydd, heb weithredoedd, *marw* yw.

*Mynegair.*—Bu Abraham *farw*, a'r prophwydi *Marw* a wnaeth Rahel. Wele fi yn *marw.* Yfory *marw* yr ydym.

*Amgylchiad.*—Lladder y llawruddiog *yn farw*. *Gan farw*, byddi farw, Ionathan. Clafychodd Heseciäs *hyd farw*. Syrthiais wrth ei draed *fel marw*.

Gellir, os mynir, ddosranu yr amgylchiaid 'gan farw,' ac 'fel marw,' &c., fel hyn:—*gan*, cyssylltiad; *farw*, mynegair:—*fel*, amgylchiad; *marw*, cyfenw a arferir yn lle enw.

### Hwn, &c.

*Rhagenw.*—Pwy yw hwn?
*Cyfenw.*—Pwy yw y gwr hwn?
*Rhagenw.*—Hon a olchodd fy nhraed.
*Cyfenw.*—A weli di y wraig hon?
*Rhagenw.*—Synwch wrth hyn.
*Cyfenw.*—A weli di yr adeiladau hyn?

### Ond.

*Amgylchiad.*—Ni raid iddo ond ymddangos.
*Rhagddodiad.*—Collodd bob peth, ond ei enw da.
*Cyssylltiad.*—Ond y mae gyda thi faddeuant.

## YR AIL GAM.

## Y RHANAU YMADRODD.

### YR ENW.

**22.** Gelwir pob peth a *enwir* mewn un gair yn ENW, mewn grammadeg.

Byddwn yn rhoi enw ar bwy bynag a nabyddom, ac ar ba beth bynag a wybyddom. Cynnwysa ein gwybodaeth bersonau, milod, tyfolion, lleoedd, gweithrediadau, cyflyrau, teimladau, &c.

**23.** Y mae pum dosbarth o enwau :—PRIODOL, CYFFREDINOL, CYNNULLIADOL, DEFNYDDIOL, a DANSODDOL.

I. ENWAU PRIODOL. Gelwir hwynt felly am eu bod yn perthyn i berson, neu beth, neu le neillduol; megys,

*Angylion.*—Michael, Gabriel, Satan.

*Dynion.*—Iob, Aristotle, Pascal, Cervantes, Shakespeare.

*Gwledydd.*—Yr Ind, yr Ital, yr Yswêd, Norwy, Belg.

*Dinasoedd.*—Caersalem, Rhufain, Athen, Granada, Llundain.

*Mynyddoedd.*—Everest, Maladetta, Lirima, Hermon, y Wyddfa.

*Afonydd.*—Y Nil, y Donwy, y Rhôn, y Rhein, yr Hafren.

*Llynoedd.*—Ladoga, Leman, Lomond, Lean, Tegid.

*Gwybodaethau.*—Serofyddiaeth, Fferylliaeth, Amaethyddiaeth, Daeareg.

*Clefydon.*—Pâs, Parlys, Cryd, Cymmalwst, Nychglwyf.

*Dyddiau, Misoedd, a Gŵyliau.*—Sul, Mai, Nadolig.

Yr ydys, wrth liosogi enwau priodol, yn eu troi yn enwau cyffredinol; megys, 'y Rechabiaid,' 'y Meiriau,' 'y Llwydiaid.'

24. II. Enwau Cyffredinol. Gelwir hwynt felly am eu bod yn perthyn, nid i ryw un neu ryw beth neillduol—ond i ddosbarth.

Nid yw dosbarth amgen na lliaws o bersonau neu bethau ag sydd yn tebygu rhyw gymaint i'w gilydd.

Y mae gwahaniaeth mawr rhwng Bismarck a Colenso; a gwahaniaeth mwy fyth rhwng Colenso a Cetewayo: ond cynnwysir y tri yn y dosbarth *dyn*. Y mae *dyn* gan hyny, yn enw cyffredinol.

Annhebyg iawn i'w gilydd yw yr eryr, yr estrys, y ddylluan, a'r dryw: ond y maent oll yn dwyn nodau *aderyn*.

Arall yw gogoniant Mercher, ac arall yw gogoniant Gwener: ond y mae'r naill a'r llall yn *blaned*.

Gwahaniaetha coch a glâs: ond cyttunant mewn bod yn *lliwiau*.

Enghreifftiau o Enwau Cyffredinol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Adeilad | bwyd | milwr | pryf |
| aderyn | comed | morwr | pysgodyn |
| afon | gwastadedd | mynydd | rhosyn |
| apostol | gweithiwr | planed | tywysog |
| barnwr | llyn | pregethwr | ymlusgiad |
| brenin | maen | pren | ysgrifenydd |

Y mae ambell ddosbarth yn cynnwys ynddo ei hun ddosbarthau eraill llai:—

Enghreifftiau.

I. *Creaduriaid.*—Milod, planhigion, mŵnau.

II. *Milod.*—Adar, ymlusgiaid, pysgod, pryfed.

III. *Adar.*—Adar ysglyfaeth, adar dwfr, adar traeth, adar awyr.

IV. *Adar ysglyfaeth.*—Eryrod, hebogion, bodiau, dyllu-anod.

*Gwylltfilod.*

Llewod, eirth, dywalgwn, llwynogod.

*Milod dofion.*

Meirch, gwartheg, defaid, cŵn.

*Ymborth.*

Bara, llysiau, ffrwythau, cig.

*Eiddo.*

Arian, tir, tai, llongau.

*Rhinweddau.*

Cyfiawnder, cymmwynasgarwch, tynerwch.

*Beiau.*

Balchder, gorfynt, cybydd-dod, trahausder.

Da a fyddai i'r dysgydd ymarfer â threfnu enwau yn ddosbarthau, gan ddechreu gyda yr hyn sydd neillduol, a diweddu gyda'r hyn sydd gyffredinol; megys,

*Y neillduol.*—'Yr Eglwys Wen.'
*Y dosbarth lleiaf.*—Eglwysydd.
*Dosbarth mwy.*—Adeiladau cyhoeddus.
*Dosbarth mwy fyth.*—Adeiladau.

Amlwg yw fod dosbarth mawr yn cynnwys mwy o aelodau na dosbarth llai. Ond po mwyaf y byddo y dosbarth, *lleiaf oll* a fydd y cyffelybrwydd rhwng ei aelodau; a pho lleiaf y byddo y dosbarth, *mwyaf oll* fydd y cyffelybrwydd rhwng ei aelodau. Er enghraifft:—y mae mwy o debygrwydd rhwng gwahanol adeiladau eglwysig a'u gilydd nag sydd rhwng adeiladau o bob math.

Weithiau, y mae enw cyffredinol, pan y bydd *y* neu *yr* o'i flaen, yn arwyddo rhywun neu rywbeth neillduol. Er enghraifft:—Os sonia Sais am 'y frenhines,' gŵyr pawb mai Victoria a feddylir. Os dywed gwr o'r Bala fod 'y llyn' yn donog, gellir bod yn sicr mai llyn Tegid a olyga.

**25.** III. ENWAU CYNNULLIADOL. Unigol yw yr enwau hyn o ran eu ffurf; ond y mae iddynt ystyr lliosog. Cynnwysant lawer o unigolion; ond golygir y cwbl yn un crynswth.

ENGHREIFFTIAU.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Bagad | cyfrinas | eglwys | mintai |
| brawdoliaeth | cyfundeb | gwerin | plaid |
| byddin | cynghor | gŷr | praidd |
| catrawd | cynghorfa | haid | senedd |
| cenedl | cymmanfa | lleng | teulu |
| cenfaint | cymdeithas | lliaws | torf |
| clwb | cynnulleidfa | llu | tylwyth |
| cyfeisteddfod | deadell | llynges | tyrfa |

Gellir lliosogi y rhan fwyaf o'r enwau uchod; megys, 'cymmanfa,' cymmanfëydd; 'teulu,' teuluoedd. Y mae yr enwau lliosog 'cymmanfeydd,' a 'theuluoedd,' yn gynnulliadol ac yn gyffredinol.

26. IV. ENWAU DEFNYDDIOL, neu FATEROL; megys,

| | | | |
|---|---|---|---|
| Aur | eira | halen | sidan |
| brethyn | glo | lledr | pren |
| calch | gwellt | llian | pres |
| clai | gwin | llîn | pridd |
| cotwm | gwydr | maen | sugr |
| dwfr | haiarn | papur | ŷd |

Gwelir fod yr holl enwau uchod yn y rhif unigol. Pan y byddant felly, arwyddant yn unig *natur* y defnydd yn un cyfanswm, ac nid rhanau na mathau o hono. Pan y byddant yn y rhif liosog, ystyr arall sydd iddynt. Nid yr holl ddefnydd a elwir 'gwydr,' a feddylir wrth 'wydrau;' ond gwahanol ddarnau neu wahanol fathau o wydr. Try enwau defnyddiol, gan hyny, yn enwau cyffredinol pan y lliosoger hwynt.

27. V. ENWAU DANSODDOL. Enwau yw y rhai hyn ar bethau nad ynt yn bod arnynt eu hunain; ond y *tybygir* eu bod felly. Cynnwysa enwau dansoddol—

(1.) *Enwau ansoddau neu briodoleddau;* megys, daioni, drygioni; doethineb, ynfydrwydd; gwirionedd, celwydd; uniondeb, camwedd; trahausder, gwaseidd-dra; tegwch, hyllwch; tynerwch, toster; melusder, chwerwder; gwynder, düwch; gerwinder, llyfnder; mawredd, bychander.

(2.) *Enwau gweithrediadau, gweithredyddion, ac effeithiau.*—Gweithred, gweithrediad, ymwadiad, cerddediad, symmudiad, gwrthwynebiad, ymosodiad, ymladdfa, brwydr, dinystr, cospedigaeth, cyfraith, ymadrodd, gwrês, taran.

(3.) *Sefyllfëydd, neu gyflyrau.*—Rhyddid, caethiwed, hawddfyd, adfyd, heddwch, gorphwysdra, henaint, ieuengctid.

(4.) *Teimladau, cynneddfau,* &c.—Cariad, câs, digofaint, sirioldeb, llawenydd, tangnefedd, cenfigen, rheswm, deall, dychymyg, awen, côf.

Am yr holl eiriau sydd uchod, enwau ydynt ar bethau nas gallant fod, oddi eithr ynglŷn â rhyw wrthddrych

sylweddol. Nis gall 'doethineb' fod ar wahân i'r neb sydd ddoeth; na 'melusder' ar wahân i'r hyn sydd felus. Ond gellir synied am danynt fel pethau annibynol a sylweddol.

Gellir lliosogi rhai enwau dansoddol: ond pan y gwneir hyny, fe'u tröir yn enwau cyffredinol. Enw dansoddol yw 'gwirionedd;' ond enghreifftiau neillduol o wirionedd yw 'gwirioneddau.'

Heb law hyny, y mae 'gwirionedd' yn peidio â bod yn enw dansoddol, pan y doder gair o fath *y* neu *un* o'i flaen; neu air o fath *hwn* neu *hwnw* ar ei ol; megys, 'un gwirionedd;' 'y gwirionedd hwn.'

---

## Y RHAGENW.

**28.** Gwasanaethu yn lle enw, a fyddo yn ddigon hysbys, ydyw gwaith rhagenw. Cyfeiria, weithiau, at y sylfon, ac weithiau at y gwrthddrych: ond nid yw yn enwi y naill na'r llall.

[Na chamarweinier y dysgydd gan y term anwiw hwn. *Cyn*, neu *yn mlaen llaw*, ydyw ystyr cyffredin 'rhag' yn nechreu geiriau; ond yn y geiriau *rhagenw*, *rhaglaw*, *rhagwas*, ac ychydig eraill, *eil-*, *is-*, neu *yn lle* ydyw ei ystyr.]

**29.** Y mae yn y Gymraeg bum math o ragenwau.

**30.** I. Rhagenwau Personol; megys, *mi*, *ti*, *ef*, *hi*, *ni*, *chwi*, *hwy*.

**31.** Am Berson.—Arwydda *mi* (neu *fi*, *i*) a *ni*, y personau sydd yn llefaru; ac am hyny dywedir fod y rhagenwau yna yn y Person Blaenaf.

Arwydda *ti* a *chwi* y personau y lleferir wrthynt; ac am hyny dywedir eu bod yn yr Ail Berson.

Cyfeiria *ef*, *hi*, a *hwy*, at y personau neu y pethau y lleferir am danynt; ac am hyny y maent yn y Trydydd Person.

**32.** Am Rif.—Gwelir hefyd mai un person yn unig a arwydda *mi*, *ti*, *ef* (neu *e*), a *hi*.

Dywed grammadegwyr, gan hyny, mai yn y Rhif Unigol y maent. Arwydda *ni*, *chwi*, a *hwy*, chwaneg nag un person:—y maent hwy gan hyny yn y Rhif Lliosog.

33. AM RYW—Nid oes yn y rhagenwau hyn (oddi eithr *ef* a *hi*) ddim i ddangos o ba ryw neu genedl y mae y personau y cyfeiriant atynt. Ac nid ydyw pob peth y cyfeirir ato fel *ef* o'r ystlên wryw, na phob peth y cyfeirir ato fel *hi* o'r ystlên fenyw. Ond ystyrir fod *ef* bob amser yn y rhyw gwrywaidd, a *hi* bob amser yn y rhyw benywaidd. A natur pethau y mae a wnelo *ystlên;* ond âg enwau pethau y mae a wnelo *rhyw*. Y mae *rhyw* yn fwy cynnwysfawr nag *ystlên; gwrywaidd* yn fwy cynnwysfawr na *gwryw;* a *benywaidd* yn fwy cynnwysfawr na *benyw*.

34. Y mae i'r rhagenwau personol, gan hyny, DRI PHERSON; sef, Blaenaf, Ail, a Thrydydd. DAU RIF; sef, Unigol a Lliosog. Ac y mae i'r trydydd person unigol DDAU RYW hefyd; Gwrywaidd a Benywaidd.

35. *Hi.*—Arferir y rhagenw hwn fel sylfon y mynegair, mewn ymadroddion a gyfeiriant at *amser*, at y *tywydd*, ac at *gyflwr*, &c.; megys,

| | |
|---|---|
| Y mae *hi* yn hanner ddydd. | Y mae *hi* yn gwlawio. |
| Y mae *hi* yn gwawrio. | Yr oedd *hi* yn oer. |

Y mae *hi* yn galed arno.

36. *Hwy, hwynt.*—Arferir *hwy* yn sylfon ac yn wrthddrych mynegair. Yn wrthddrych yn unig yr arferir *hwynt;* megys,

*Sylfon.*—*Hwy* a gymmerasant eu lampau.
*Gwrthddrych.*—Lleddaist *hwy* heb arbed.
,, Cadwynodd balchder *hwynt*.

[Traethir ar y Rhagenwau Personol eraill dan y pen 'TREIGLIAD.']

37. II. RHAGENWAU DOSBENOL, neu DDANGOSOL. Cyfeirio y mae y rhai hyn, megys â bŷs, at ba beth bynag y siaredir am dano; megys, *hwn, hyn, hona, hwnw, hyny;* ac weithiau *yma, yna, acw, dyma,* a *dyna*.

38. Ystyr unigol sydd i'r ffurfiau *hyn*, a *hyny*, pan y byddant yn rhagenwau. Ni chyfeiriant at berson, na chreadur o fath yn y byd; ond at ffaith, neu amgylchiad, neu ymadrodd; megys,

A phen ar y pethau a ddywedwyd yw *hyn*, &c.
*Hyn* yn unig a gefais, [sef yw] wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn.

Hwythau, wedi clywed *hyn*, a ddwysbigwyd.
Ufuddhewch i'ch rhieni, canys *hyn* sydd gyfiawn.
Oni ddywedant yn ol y gair hwn, *hyny* sydd am nad oes oleuni ynddynt.

39. Pan y bydd *hyn* neu *hyny* o flaen y cyssylltiad *o*, arwydda faint, dognedd, ysbaid, neu rifedi; megys,

Hyn *o* beth. Hyn *o* amser. Hyny *o* arian.

40. Amgylchiaid yw *dyma* a *dyna*: ond gwasanaethant yn fynych yn lle rhagenwau dangosol; megys y dengys yr enghreifftiau hyn :—

*Dyma*'n gwbl fy neisyfiad
(sef) I mi gael bod yn dy gôl.
Ai *dyma*'r tâl a gaf genych?
*Dyna* ydyw arfer y wlad.

41. III. Rhagenwau Perthynol. Y mae y rhagenwau hyn, nid yn unig yn gwasanaethu yn lle enwau personau a phethau; ond y maent hefyd yn cydio un ymadrodd wrth un arall, ac am hyny yn gwneyd gwaith cyssylltiaid :—

Myfi yw Ioseph, *yr hwn* a werthasoch.
Yr ogof, *yr hon* a brynasai Abraham.
Na chofia *yr hyn* a wnaeth dy was.
Y seryddion, *y rhai* a hysbysant am y misoedd.
Dyna ddyn *ag* y bu ei arswyd ar holl Europ.
Deuwch ataf fi bawb *a'r* y sydd yn flinderog.

42. Rhagenw grwywaidd yw *yr hwn*; ac un gwrywaidd yw *yr hyn* hefyd : ond nid yw yn iawn arfer y naill yn lle y llall. Cyfeiria *yr hyn*, pan y byddo yn y rhif unigol, at ffaith, amgylchiad, neu ymadrodd.

43. Y mae *ag* ac *a'r* yn ffurfiau llai arbenig na'r rhagenwau perthynol eraill. Tybygir mai *o'r rhai* ydyw ystyr *a'r*. Ni ddylid arfer *a'r*, gan hyny, mewn cyssylltiadau nas goddef mo'r ystyr hwn.

44. Hebgorir y rhagenw perthynol yn fynych. Pan y gwneir hyny, y mae ystyr y rhagenw megys yn cael ei gyfranu i'r gair nesaf ato, yr hwn sydd yn gyffredin yn un o'r rhai hyn—*sydd*, *a*, *y*, *ni*; megys,

Efe yw y gŵr...*sydd* yn cynnhyrfu y bobl.
... *A* fo pen, bid pont.
Myfi yw y gŵr...*a* welodd flinder.
Dyma'r eneth...*y* torwyd ei braich.
Clywais iaith...*ni* ddeallwn.

45. IV. Rhagenwau Holiadol. Dau ragenw holiadol sydd; sef, *pwy*, a *pa*.

46. Ni ddylid byth arfer *pwy* o flaen enw, gan fod *pwy* ei hun yn arwyddo *pa ddyn? pa ferch?* &c. Er hyny, mynych y clywir siaradwyr esgeulus yn dywedyd 'Pwy ddyn?' 'Pwy ddiwrnod?'

47. Arferir *pa* o flaen enw, neu air gogyfystyr âg enw; megys, *pa ferch? pa un? pa rai?* Y mae *pa*, gan hyny, yn hytrach yn gyfenw nag yn rhagenw. Eithr pan fyddo cyssylltiad agos rhyngddo a rhagenw arall, y mae y ddau air ynghyd yn gwneuthur rhagenw holiadol; megys,

*Pa*-un (neu *p*'un) o honynt yw y goreu?
*Pa*-rai (neu *p*'rai) a ddewisaf?

48. V. Rhagenwau Ammhennodol. Fe'u gelwir felly am eu bod yn dynodi personau neu bethau mewn modd rhydd ac ammhendant. Wele hwy:—

Un, rhywun, rhai, rhywrai, rhywbeth, amryw, oll, y cwbl, pawb, llawer, neb, nebun, ychydig, peth *(some)*, dim, y llall, y lleill, eraill, cynnifer, cymmaint, y neb, y sawl, pwy bynag, pa ... bynag.

Cyfrifa Dr. de Fivas y rhai canlynol hefyd gyda'r rhagenwau ammhennodol:—yr un, y rhai (weithiau), y naill a'r llall, y naill y llall, ein gilydd, eich gilydd, eu gilydd.

Sylw 1. Ni bydd un o'r geiriau uchod yn rhagenw, oddi eithr pan safo yn lle enw. Pan y safo gydag enw, cyfenw a fydd.

Sylw 2. Mynych y gwasanaetha *y neb*, *y sawl*, *pwy bynag*, *pa ... bynag*, yn lle rhagenwau perthynol.

49. *Llawer.* Arwydda fesur, yn gystal a rhifedi, pan ddelo *o* ar ei ol; megys,

Llawer *o* wir (mesur).
Llawer *o* wirioneddau (rhifedi).

50. *Ychydig.* Arwydda weithiau rifedi bychan, ac weithiau fesur bychan; megys,

Cymmer oddi yno ychydig o nifer.
Ychydig sydd wedi eu dewis.
Ychydig a fwytäai Urien.

51. *Y neb; Y sawl.* Unigol yw *y neb*: lliosog yw *y sawl.* Y maent yn ogyfystyr â'r geiriau Seisnig *he who, they who.*

52. *Pa ... bynag.* Dylid yn wastadol arfer enw, neu air cyfystyr âg enw, rhwng *pa* a *bynag;* megys,

Pa ddyn bynag: pa ferch bynag.
Pa le bynag: pa beth bynag.

[A'u barnu arnynt eu hunain, cyfenw ydyw *pa,* ac ymlynair (*enclitic*) ydyw *bynag. Gram. Legonidec,* td. 73.]

53. *Y naill y llall; ein-, eich-, eu gilydd.* Golyga *y naill y llall* ddau berson yn unig. Golyga *ein,* &c., *gilydd,* unrhyw nifer uwch law un. Gelwir y ddau ragenw hyn, yn gyffredin, yn RHAGENWAU YMDRAFODOL (*reciprocal*).

---

## Y CYFENW.

54. Cyfenw (cyd-enw) sydd air a geir *gyd âg enw* arall, am na ddichon sefyll wrtho ei hun. O ba herwydd, fe'i gelwir weithiau yn *enw gwan,* a'r enw y pwysa arno yn *enw cadarn.*

Nodi enw, a therfynu ei ystyr, ydyw gwaith cyfenw; megys y dengys yr ymadroddion hyn:—*y dyn, y dyn acw, dyn da, llawer dyn, fy nhangnefedd.* Hyn oedd perwyl cyfenwau personol hefyd, ar y cyntaf; megys, Elsa Ddu, Goronwy Foel, Ednyfed Fychan.

55. Y mae tri math o gyfenwau, a'u barnu wrth eu hystyr; (1) Dosbenol, neu wahaniaethol. (2) Meintiol, a rhifol. (3) Mathol, neu briodoliaethol.

D.S., Cofier nad yw yr holl eiriau a roddir yn enghreifftiau ddim yn gyfenwau bob amser, ac yn mhob man.

56. I. Cyfenwau Dosbenol; megys, *y*, *yr*, *hwn*, *hon*, *hyn*, *hwnw*, *hono*, *hyny*, *fy*, *ein*.

57. *Bannod* y geilw grammadegwyr y cyfenw dangosol *y*, neu *yr*.

Arferir *yr* o flaen *a*, *e*, *i*, *o*, *u*, *y*, *h*,—ac weithiau o flaen *w*: *y* a arferir o flaen pob llythyren arall. Arferir y bannod talfyredig *'r* o flaen pob llythyren.

Arferir y bannod o flaen enw ambell wlad a thref; megys, yr Aifft, yr Alban, yr Almaen, yr Americ, yr Ind, yr Ital, yr Iwerddon, yr Yspaen, yr Yswêd, yr Abermaw, yr Amwythig, y Bala, y Rhyl, y Wyddgrug.

58. II. Cyfenwau Meintiol a Rhifol; megys, *ychydig*, *mwy*, *llai*, *peth*, *dim*, *holl*, *oll*, *rhyw*, *rhai*, *ambell*, *arall*, *eraill*, *amryw*, *llawer*, *pob*, *un*, *dau*, *tri*, *tair*, *&c.*, *cyntaf*, *ail*, *trydydd*, *trydedd*, *&c.*

[Barna Dr. Smith mai cyfenwau mathol yw *cyntaf*, *ail*, *trydydd*, &c.]

Golyga ambell un o'r cyfenwau uchod faint a rhifedi; megys,

Yr holl gorph—yr holl gyrph.
Y corph oll—y cyrph oll.
Ychydig win—ychydig enwau.

59. *Holl*, *oll*. Arferir *holl* o flaen enw, ac *oll* ar ei ol, megys y dengys yr enghreifftiau sydd o'r blaen.

Ymogeled y darllenydd rhag dolurio clust na llygad Cymro coeth âg ymadroddion atgas o fath y rhai hyn:—

Gwelais *yr oll* o honynt.
Darllenais *yr oll* o hono.
Y mae *yr oll* yn dda.

Arfered yn hytrach un o'r ffurfiau hyn:—

Gwelais hwynt *oll*.
Darllenais ef *i gyd*.
Y mae *y cwbl* yn dda.

60. *Llawer*. Pan ddelo enw yn ddigyfrwng ar ol y cyfenw *llawer*, bydd yr enw hwnw yn y rhif unigol; megys,

Llawer gwraig a weithiodd yn rymus.

61. *Ambell.* Enw neu ragenw unigol a ddylai fod ar ol y cyfenw *ambell* hefyd; megys,

Ambell ddyn, ambell un.

Na ddyweder byth ambell *i* ddyn, ambell *i* un.

62. *Pob.* Enw unigol a arferir yn fwyaf cyffredin ar ol *pob*; megys, Pob dyn. Ond pan y byddo yn arwyddo *pob math*, arferir enw lliosog ar ei ol; megys, Pob cŵn, Pob adar.

63. *Peth.* 'Rhyw gymmaint o' ydyw ystyr *peth* pan y byddo yn gyfenw; megys,

Caed yn Abïa beth daioni.

64. *Pum, chwe, deng, can.* Golygir y ffurfiau *pump, chwech, deg, cant*, yn enwau. Y ffurfiau talfyredig *pum, chwe, deng, can*, ydyw y rhifau cyfenwol.

65. III. Cyfenwau Mathol. Ettyb y rhai hyn oll i'r holiad, Pa fath? megys, Pa fath afalau? Afalau pêr, afalau surion. Pa fath liw? Lliw du, lliw gwyn.

Gwasanaetha y cyfenwau hyn i ranu dosbarth mawr yn ddau neu chwaneg o ddosbarthau llai. Arwydda *afalau*, er enghraifft, ddosbarth helaeth o ffrwythau. Arwydda *afalau pêr* ddosbarth llai a mwy detholedig. Y mae pob afal pêr yn afal, a phob afal yn ffrwyth; ond nid yw pob ffrwyth yn afal, na phob afal yn afal pêr.

Dyma gasgliad bychan o gyfenwau mathol wedi eu dosbarthu yn ol eu hystyr.

*Rhinwedd.*—Cyfiawn, uniawn, hawddgar, hael, trugarog, ffyddlawn, diniwed, gwylaidd, cymmedrol, mwyn, amyneddus, siriol, boddlawn, ufudd, diolchus, maddeugar.

*Bai.*—Traws, camweddus, anfad, adgas, ffiaidd, brwnt, llygredig, hunangar, ariangar, cybyddlyd, celwyddog, meddw, cyndyn, creulawn, cenfigenllyd, bradus.

*Amser.*—Parhaus, tragwyddol, mynych, byr, hir, prysur, diweddar, presennol, dyfodol, cyfamserol, agoshäol, hen, ieuangc, cynnar, hwyr.

*Lle.*—Helaeth, eang, mawr, cynnwysfawr, lleol, llydan, cul, cyfyng, pell, agos, hir, byr, uchel, isel, dwfn, gwastad, bâs.

*Ffurf.*—Unffurf, conglog, cam, gŵyr, gogam, crwn, hirgrwn, troellog, pigfain, cafnog, annelwig, afluniaidd.

*Lliw.*—Goleu, dysglaer, canaid, eirian, llachar, gloew, tryloew, tywyll, pŵl, gwelw, gwineu, glâs.

*Symmudiad.*—Llonydd, aflonydd, sefydlog, dïymmod, simsan, gwisgi, sionc, chwim, cyflym, araf.

---

## AM GYFENW A FYDDO YN Y MYNEGIAD.

66. Gwneir mynegiad brawddeg yn fynych o Fynegair anghyflawn a Chyfenw; megys,

| | |
|---|---|
| Y dyddiau *sydd ddrwg.* | *Y mae* y dyddiau *yn ddrwg.* |
| *Drwg yw* y dyddiau. | Gwŷr doeth *sydd nerthol.* |

*Bu* bara gwyn *yn ddrud.*

Rhanau o'r mynegair *bod* yw *sydd, yw, mae,* a *bu.* Ychydig o fynegeiriau anghyflawn sydd; a *bod* yw yr un mwyaf cyffredin o honynt. Gweler 73.

67. Pan fyddo cyfenwau yn y mynegiad ni leihânt ddosbarth. Chwanegu ato y maent ryw ystyr newydd.

Yn yr ymadrodd 'Gwŷr doeth sydd nerthol,' y mae y cyfenw *doeth* yn lleihau y dosbarth *gwŷr;* canys y mae llai o wŷr doeth nag y sydd o wŷr. Hyny yn gyffredin yw gwaith cyfenw a gyssyllter âg enw. Ond nid yw y cyfenw *nerthol,* yn lleihau dim ar y dosbarth *gwŷr doeth.* Y cwbl a wna ydyw mynegi eu bod yn nerthol, neu eu bod yn gynnwysedig yn y dosbarth helaethach—creaduriaid nerthol.

Hefyd, yn yr ymadrodd 'Bu bara gwyn yn ddrud,' y mae y cyfenw *gwyn* yn terfynu, neu yn cyfyngu yr enw *bara* yn y sylfon. Ond nid yw y cyfenw *drud* yn cyfyngu dim arno. Enw arall (dealledig) yn y mynegiad a gyfyngir gan *drud.* Gwybydder fod pob brawddeg o'r fath yma yn dalfyredig; canys fel hyn y byddai hi yn llawn:—Bu bara gwyn yn ymborth drud.

Hyn, a siarad yn gyffredinol, ydyw swm y cwbl:—Y mae cyfenwau a fyddont yn ymyl enwau yn cyfyngu yr enwau hyny yn gyffredin. Nid yw cyfenwau a fyddont ar wahân i enwau yn cyfyngu dim arnynt. Mynegi yn unig y maent rywbeth am danynt.

ENGHREIFFTIAU O GYFENWAU CYFYNGOL.

| | |
|---|---|
| Henwr gwisgi. | Dyn marwol. |
| Cyfraith dda. | Llew cryf. |

Gwerin ddysgedig.

ENGHREIFFTIAU O GYFENWAU MYNEGOL.

| | |
|---|---|
| Bu yr henwr, gynt, yn *wisgi.* | Y mae dyn yn *farwol.* |
| *Da* yw y gyfraith. | Y llew sydd *gryf.* |

Bydd y werin yn *ddysgedig* cyn hir.

68. Mynegol, ac nid cyfyngol, ydyw ambell gyfenw a fyddo, ïe, yn ymyl enw; megys, *Y Duw mawr. Abraham ffyddlawn. Cymru lân. Y ddaear gron.*

Y mae yr enwau sydd o flaen y cyfenwau yna yn enwau priodol, ac unigol. O herwydd pa ham, nis gellir eu cyfyngu.

Nis gelwir Abraham yn 'ffyddlawn,' er mwyn ei wahaniaethu oddi wrth ryw Abraham anffyddlawn; ac nis gelwir Cymru yn 'lân' am fod rhyw wlad arall â'i henw yn 'Gymru aflan.' Yn hytrach, cymmeryd ffordd fer yr ydys i grybwyll Abraham a Chymru, ac i ddywedyd pa fath rai ydynt. Hyn, gan hyny, ydyw y meddwl:—Abraham, yr hwn oedd ffyddlawn. Cymru, yr hon sydd lân.

---

## Y MYNEGAIR.

69. Gelwir y rhan ymadrodd hwn yn Fynegair, am mai ei waith ydyw *mynegu* rhywbeth am sylfon brawddeg. Efe yw y gair penaf yn y mynegiad, gan nad yw pob gair arall amgen na chwanegiad ato.

70. Y mae tri math o fynegeiriau, a'u barnu wrth eu hystyr :—

71. I. MYNEGEIRIAU GWRTHDDRYCHOG; sef, y rhai a ofynant neu a gymmerant wrthddrych, er mwyn cyflawni y mynegiad ; megys,

Lladdodd Beneia lew. Tarewir y bugail.

Mynegair gwrthddrychog neu weithredol ydyw *lladdodd;* a chyflawnir ei ystyr trwy ddywedyd pa beth a laddwyd gan Beneia—*llew.*

Mynegair gwrthddrychog ydyw *tarewir* hefyd; a chyflawnir ei ystyr trwy ddywedyd pwy a darewir gan rywun anhysbys—*y bugail.*

72. II. MYNEGEIRIAU DI-WRTHDDRYCH. Y mae i'r rhai hyn ystyr cyflawn heb wrthddrych; megys,

Tywyna'r haul. Syrthiodd Dagon. Cysgais i.

Try mynegeiriau gwrthddrychog yn fynegeiriau dïwrthddrych pan fynegont rywbeth yn gyffredinol; hyny ydyw, heb gyfeiriad at wrthddrych neillduol. Er enghraifft, mynegeiriau gwrthddrychog yw *hau*, a *hela*, yn yr ymadroddion hyn:—'Y mae yr amaethwr yn hau gwenith.' 'Bu Gruffydd yn hela cwningod.' Ond mynegeiriau dïwrthddrych ydynt yn yr ymadroddion hyn:—'Y mae yr amaethwr yn hau.' 'Bu Gruffydd yn hela.'

Gellir, wrth ddodi cyssylltiad ar ol mynegair dïwrthddrych, ei droi yn fynych yn fynegair gwrthddrychog. Y mae perthynas mor agos rhwng ambell gyssylltiad a mynegair dïwrthddrych fel y gellir edrych ar y ddau air ynghyd yn fynegair gwrthddrychog *cyfansawdd.*

ENGHREIFFTIAU.

| | | |
|---|---|---|
| Methu â. | Gweddïo ar. | Tosturio wrth. |
| Galw ar. | Gafaelyd yn. | Chwerthin am ben. |

73. III. MYNEGEIRIAU ANGHYFLAWN:—*Sydd*, *yw*, *y mae*, *oedd*, *bu*, *bydd*, a holl ranau eraill y mynegair *bod.* Rhai anghyflawn yw *dyfod*, *myned*, ac *edrych* hefyd, mewn rhai cyssylltiadau.

Cyflawnir y mynegeiriau yna âg enw, neu gyfenw, neu amgylchiad. Nid oes un o'r tri yn wrthddrych i'r mynegair. Egluro y sylfon ydyw unig waith pob un o honynt.

ENGHREIFFTIAU.

| | |
|---|---|
| Cenaw llew *wyt* ti. | *Aeth* Moses yn fawr. |
| Joseph *fydd* gangen ffrwythlawn. | *Edrychai* y bachgen yn dda. |
| Creulawn *fu* eu llid. | *Y mae* fy ngwinllan ger fy mron. |

Mynegeiriau anghyflawn yw y rhai sydd mewn llythyrenau Italaidd. Y geiriau a gyflawnant eu hystyr yw 'Cenaw llew.' 'Cangen ffrwythlawn. ''Creulawn.' 'Yn fawr.' 'Yn dda.' 'Ger fy mron.'

## YR AMGYLCHIAID.

**74.** Cymmesuro mynegeiriau, cyfenwau, ac amgylchiaid eraill ydyw gwaith amgylchiaid. Gwnant hyny trwy ddynodi amser, lle, modd, gradd, mesur, trefn, &c.; o herwydd pa ham fe'u gelwir yn *Amgylchiaid.*

[Darnoda Dr. PRIESTLY hwynt—(1), Fel brawddegau talfyredig. * (2), Fel aelodau brawddegau a arferir i ddynodi *modd* ac amgylchiadau eraill].

**75.** Er mwyn cynnorthwyo y dysgydd i adnabod yr amgylchiaid, mi a'u dosbarthaf fel hyn:—

(1), *Amgylchiaid amserol.*—Heddyw, heno, doe, neithiwr, echdoe, echnos, yfory, trenydd, tradwy, tranoeth, eleni, ellynedd, weithion, yn awr, yr awr hon, newydd, eisoes, gyneu, gynt, erioed, er ys talm, er ys meityn, o'r blaen, yn gyntaf, yn ddiweddaf, yn ddiweddar, ar frys, allan o law, yn union, yn union deg, ar hyn, ar hyny, ar fyr, toc, y rhawg, etto, trachefn, o hyn allan, rhag llaw, byth, yn dragywydd, bellach, mwyach, beunydd, bob dydd, yn feunyddiol, yn wythnosol, yn fisol, yn flynyddol, bob amser, yn wastad, weithiau, ambell waith, ambell dro, yn fynych, yn gynnar, yn hwyr, o'r diwedd, unwaith, dwywaith, &c., yn ddisyfyd, yn ddisymwth, yn chwap, yn araf.

Amgylchiaid y cyfrifir ymadroddion o'r fath yma hefyd:— Yn y flwyddyn, yn yr haf, yn y boreu, yn yr hwyr, gyda'r nos, liw nos, ar y sabbath, y tro nesaf, y tro diweddaf, yn y dechreu, ar y cyntaf, yn y cyfamser, o bryd i bryd, ar ryw brydnawngwaith teg o haf.

(2), *Amgylchiaid lleol.*—Yma, yna, yno, acw, dyma, dyna, dacw, wele, draw, hwnt, adref, i fewn, i faes, allan, fry, obry, uchod, isod, i fyny, i lawr, i waered, tanodd, trosodd, trwodd, ymaith, yn mlaen, rhag blaen, yn ol, ar ol, yn mhell, yn nghyd, ar wahân, o'r neilldu, yn agos, gerllaw, heibio, oddeutu, oddi amgylch, oddi yma, oddi acw, oddi tanodd, yn mlaenaf, yn olaf.

(3), *Amgylchiaid graddol.*—Llawer, o lawer, tros ben, nemawr, ychydig, mwy, mwyaf, llai, lleiaf, mwy-fwy, llei-lai, i gyd, braidd, o'r braidd, bron, yn mron, prin, agos, digon, gormod, chwaneg, dim, o ran, o'r hanner, o lawer iawn, gymmaint ddwywaith, yn drwyadl, yn benaf, yn bendifaddeu, po mwyaf, po lleiaf, yn hytrach, rhy, tra, mor, cyn, iawn, lled, go, fel, efelly, megys.

(4), *Amgylchiaid cadarnhaol, ammheuol,* a *negyddol.*—Ië, do, purion, yn wir, yn ddiau, yn ddiammheu, yn ddiddadl, yn ddilys, o'r goreu, efallai, fe ddichon, hwyrach, ysgatfydd, ond odid, odid na, o ddamwain, nage, naddo, ni, nid, nis, na, nad, nas, nac, dim, mo, byth, yn y gwrthwyneb.

Gyda'r Amgylchiaid Cadarnhaol, y cyfrifir y geirynod mynegeiriol *a*, ac *yr* hefyd. Gweler '*Y Pedwerydd Cam.*'

(5), *Amgylchiaid holiadol.*—A, ai, ai ë, oni, onid, onis, pa bryd, pa faint, pa fodd, pa sut, pa ham, pa hyd, pa le, pa nifer?

(6), *Amgylchiaid dangosol.*—Dyma, dyna, llyma, llyna, dacw, wele.

(7), *Amgylchiaid moddol* neu *fathol.* Ffurfir y rhai hyn trwy ddodi y geiryn *yn* o flaen cyfenwau mathol; megys, yn dda, yn goeth, yn felus.

Ond pan symmuder amgylchiaid i ddechreu brawddeg, ni bydd dim rhagor rhyngddynt a chyfenwau, o ran ffurf; megys,

'Da y dywedodd Esaias;' sef yw hyn, 'Dywedodd Esaias *yn* dda.

Ymadroddion yw llawer o'r amgylchiaid moddol; megys, mewn cariad, mewn enbydrwydd, â llef uchel, ar wib wyllt, o'i anfodd.

### Sylwadau ar yr Amgylchiaid.

Sylwodd y darllenydd, yn ddiammeu, fod yr un geiriau weithiau yn gyfenwau, ac weithiau yn amgylchiaid. Pan fyddo y geiriau hyny yn cymmesuro enwau, cyfenwau ydynt:—pan y byddont yn cymmesuro rhanau ymadrodd eraill, amgylchiaid ydynt. Er enghraifft, cyfenw ydyw yr ymadrodd *yn ddoeth* yn y frawddeg,

'Yr oedd Solomon yn ddoeth,'

am mai dywedyd y mae pa fath ddyn oedd Solomon. Ond yn y frawddeg,

'Yr oedd Solomon yn barnu yn ddoeth,'

amgylchiad yw yr ymadrodd *yn ddoeth*, am mai dangos y mae pa fodd y barnai Solomon.

Cofier nad amgylchiad ydyw pob cyfenw y byddo *yn* o'i flaen. Erys cyfenw yn gyfenw, ar ol y mynegair *bod*, er fod *yn* o'i flaen, megys yn yr ymadrodd hwn, 'Yr oedd y llances *yn deg;*' hyny ydyw, 'Yr oedd y llances *yn llances* deg.'

Nid bob amser chwaith y mae yr *yn* a fyddo ar ol y mynegeiriau ystyried, cyfrif, edrych, ymddangos, myned, dyfod, &c., yn troi y cyfenw dilynol yn amgylchiad; canys nid yw dweyd 'Aeth y dyn *yn enwog,*' amgen na dweyd 'Aeth y dyn *yn ddyn* enwog.'

76. *Yn gyntaf, yn mlaenaf, yn ddiweddaf, yn olaf.* Amgylchiaid amserol yw *yn gyntaf*, ac *yn ddiweddaf*. Ond amgylchiaid lleol neu drefnol yw *yn mlaenaf*, ac *yn olaf.* Geill llawer peth fod yn gyntaf o ran amser, ac ar yr un pryd fod yn olaf o ran trefn neu sefyllfa. O eisiau gwybod, neu ynte cofio y gwahaniaeth ystyr sydd rhwng yr amgylchiaid yna, y mae ambell ysgrifenwr mor annealladwy.

---

## Y RHAGDDODIAD.

77. Gelwir y rhan ymadrodd hwn yn RHAGDDODIAD am y dodir ef yn gyffredin o flaen enw neu air enwol i ddangos ei berthynas â gair arall blaenorol. Dangos y berthynas ag sydd rhwng mynegair ac enw ydyw ei waith penaf; megys,

> Ymladdodd Paul *âg* anifeiliaid.
> Achwynodd *ar* y bachgen *wrth* ei dad.
> Aeth *i'r* wlad *mewn* cerbyd.

78. YMADRODDION AMGYLCHIADOL *(Adverbial phrases)*, ydyw y rhan fwyaf o'r ymadroddion a wnaed o ragddodiad ac enw, neu o ragddodiad a mynegair enwol; megys,

> Ymddygwch *mewn* ofn.
> *Gan* wylo, hi a wylodd.
> Derllyn yr ysgolhaig *wrth* oleuni y lloer.

Rhagddodiaid, arnynt eu hunain, ydyw y geiriau sydd mewn llythyrenau Italaidd. Ond os cymmerir hwynt ynghyd â'r geiriau sydd ar eu hol, ffurfiant yr ymadroddion amgylchiadol, *mewn ofn*, *gan wylo*, *wrth oleuni y lloer.*

79. Y mae ystyr y rhan fwyaf o'r rhagddodiaid yn newid cymmaint mewn cyssylltiadau gwahanol, fel mai ofer yw ceisio eu dosbarthu yn fanwl. Er hyny, byddai yn haws i'r dysgydd eu hadnabod, os dangosir iddo eu bod yn golygu y pethau hyn :—

(1) *Lle.*—Yn, mewn, ar, ger, i, at, tua, o, tros, trwy, tan, rhwng, ar draws, oddeutu, uwchlaw, tu draw i, ar ol, yn ymyl, yn ngŵydd, cyferbyn â, tuag at, &c.
(2) *Amser.*—Er, erys, hyd, erbyn, tan, gwedi, yn nghorph, yn ystod, yn nghylch, yn mhen.
(3) *Offerynoliaeth.*—Trwy, â, âg, efo, gerfydd.
(4) *Achos a dyben.*—O, ar gyfrif, er mwyn.
(5) *Cyfeiriad.*—Am, am dan, tuag at am, o ran, o barth, ynghylch.
(6) *Deoliad.*—Heb, ond, namyn, oddi eithr, oddigerth.
(7) *Cydffurfiad.*—Er, yn ol, yn gyttunol â, yn gyfattebol â (neu i).
(8) *Gwrthwynebiad.*—Yn erbyn, er gwaethaf, rhag.
(9) *Dirprwyad.*—Am, er, tros, yn lle.

ENGHREIFFTIAU ERAILL.

Aeth *o* Gaergybi *i* Gaerdydd.
Ewch *at* Ioseff.
Ymaith â ni *tros* dai a thiroedd.
Ef a ffôdd *tua* mynydd Gilead.
*Er* doe yr ydym ni.
Nid oes neb yn dda, *ond* un.
Torasant eu hunain *yn ol* eu harfer.
Y gwir *yn erbyn* y byd.
Y mae hi yn feddyginiaeth dda *rhag* yr annwyd.
Tarewais chwi *â* mallder.
Gwnaf hyn *iddo* o gariad *ar* ei dad.
Canaf *am* drugaredd a barn.
Tyfed ysgall *yn lle* gwenith.

80. *Mewn* ac *yn.* Arferir *mewn* o flaen geiriau cyffredinol ac ammhennodol eu hystyr ; megys,

Cuddi hwynt *mewn* pabell.
Ymdeithiodd *mewn* tir dyeithr.

Arferir *yn* o flaen geiriau neillduol a phennodol eu hystyr; megys,

Pwy a drig *yn* dy babell?
Ymdeithiodd *yn* nhir yr addewid.

[Yr un gwahaniaeth ystyr sydd rhwng *mewn* ac *yn* ag sydd rhwng y ddau air Ffrengig *en* a *dans*.]

Arferir *yn* mewn tri o gyssylltiadau eraill hefyd,—

(1), O flaen cyflawniad mynegair anghyflawn; megys,

Onid wyf fi *yn* apostol?
Onid wyf *yn* rhydd?

(2), O flaen mynegair yn y modd cyffredinol; hyny ydyw, yn y ffurf y ceir o hyd iddo mewn geiriadur. Os na bydd y mynegair hwn yn gofyn gwrthddrych ar ei ol, gwasanaetha yn lle cyflawniad i'r mynegair anghyflawn a fyddo o'i flaen; megys,

Yr wyt ti *yn* cablu.
Y mae ein cyfaill Lasar *yn* huno.

(3), O flaen cyfenw, er mwyn ei droi yn amgylchiad; megys,

Dy dad a'th ettyb *yn* arw.
*Yn* rhâd yr ymwerthasoch.

81. *Er*, *erys*. Cyfeiria *er* at adeg neillduol yn yr amser a aeth heibio. Cyfeiria *er ys*, mewn modd mwy neu lai pennodol, at yspaid o amser a aeth heibio; megys,

Er creadigaeth y byd. Er doe. Er y gwyliau.
Er ys meityn. Er ys talm. Er ys blwyddyn.

82. *A*, *gyda*, *efo*. Offerynoliaeth y mae *â* neu *âg* yn ei arwyddo; megys,

Hon a irodd fy nhraed *âg* enaint.

Cymdeithasiad y mae *gydâ* yn ei arwyddo; megys,

Awn *gydâ* thi.

Arwydda *efo* offerynoliaeth a chymdeithasiad; megys,

Bwytânt efo llwy: ant *efo'u* gilydd.

Eithr *â*, ac nid *gydâ*, a arferir ar ol mynegair ag y byddo *cy* neu *ym* (cyd) yn ei ddechreu; megys,

Cydgerddais *â* hi. Ymddiddenais *âg* ef.

Arferir *âg* o flaen *a*, *e*, *i*, *o*, *u*, *w*, *y*: *â* a arferir o flaen pob llythyren arall.

## Y CYSSYLLTIAD.

**83.** Gwaith cyssylltiad yw cydio naill ai (*a*) geiriau; megys, 'Rhyngof fi *a* thithau:'—neu, (*b*) frawddegau; megys, 'Orpa a gusanodd ei chwegr, *ond* Ruth a lynodd wrthi:'—neu ynte, (*c*) aelodau brawddeg; megys, 'Cododd gwrid i wyneb cariad dwyfol *pan* y gwelodd hi.' Pa air bynag a wasanaetho i gydio y pethau yna ynghyd, rhaid ei olygu yn gyssylltiad, er y dichon mai yn rhestr yr amgylchiaid, neu y rhagddodiaid, y bydd ei le cyffredin.

Geill cyssylltiaid gydio dau aelod brawddeg, heb sefyll yn y canol, rhwng y ddau; canys dywedir,

*Pan* ysgydwot dy olewydden, na loffa ar dy ol.
*Pe* buasit ti yma, ni buasai fy mrawd farw.

Pe cyflëid yr aelod annibynol o flaen yr aelod dibynol, byddai y cyssylltiad yn ei sefyllfa naturiol; megys,

Ni buasai fy mrawd farw, *pe* buasit ti yma.

**84.** Dyma'r prif gyssylltiaid,—

A, ac, mai, ai, naill ai, neu, neu ynte, ond, eithr, oddi eithr, etto, er, er hyny, am hyny, gan, gan hyny, yna, ynte, pe, ped, pe amgen, os, od, oni (os na), onid, onis, onid e, am, gan, canys, o achos, o herwydd, o blegid, yn gymaint, pan, tra, hyd, nes, tan, hyd nes, hyd oni, cyhyd ag, fel, rhag.

Enghreifftiau:—Gwna dau *a* dau bedwar. Dos i'r graig *ac* ymgudd yn y llwch. Tybiasant *mai* drychiolaeth ydoedd. *Naill ai* llwynog *neu* lwyn rhedyn. *Oddi eithr* eich troi, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd. *Er* iddo gwympo ni lwyr fwrir ef i lawr. Credais, *am hyny* y lleferais. *Os* o'r ddeddf y mae cyfiawnder, *yna* y bu Crist farw yn ofer. *Ped* adnabuasech fi, fy Nhad hefyd a adnabuasech. Yn nhy fy Nhad y mae llawer o drigfanau; *pe amgen*, mi a ddywedaswn i chwi. *Onid* äf fi ymaith, ni ddaw y Dyddanydd atoch. Pechasom *am* i ni wrthod yr Arglwydd.' Pechais, *canys* troseddais air yr Arglwydd. Arhoswch *hyd oni* ddychwelaf. Cadw ei ddeddfau, *fel* y byddo yn dda i ti. Cusenwch y Mab *rhag* iddo ddigio.

**85.** Gelwir y cyssylltiaid canlynol yn *gyssylltiaid rhagarweiniol*, am eu bod yn sefyll, nid yn unig yn

nechreu ymadroddion, ond hefyd yn nechreu paragraphau,—*Yn awr, yr awr hon, bellach, yn mhellach, heb law hyny, trachefn.*

86. *Ac* a *nac.* Y mae *a* neu *ac*, a *na* neu *nac*, yn talfyru brawddegau yn gyffredin ; megys,

| | | |
|---|---|---|
| Yr oedd Llywelyn ap Iorwerth, a Llewelyn ap Gruffydd yn dywysogion dewr. | = | Yr oedd Llewelyn ap Iorwerth yn dywysog dewr. Yr oedd Llewelyn ap Gruffydd yn dywysog dewr. |
| Ni cheisiodd un brenin na phenaeth na llywydd y fath beth a hwn. | = | Ni cheisiodd un brenin y fath beth a hwn. Ni cheisiodd un penaeth y fath beth a hwn. Ni cheisiodd un llywydd y fath beth a hwn. |

87. *Gan, am, o herwydd, canys.* Cyssylltiaid rhesymiadol yw y rhai hyn oll; eithr golyga *gan* fod y rheswm yn hysbys eisoes, tra mae *am* ac *o herwydd* yn ei gyflwyno felly, fel pe na bai yn hollol hysbys; megys,

Gan dy fod yn gofyn i mi, mi a'i mynegaf. Nis gall efe ddyfod, am (o herwydd) ei fod yn glaf.

Dwg *canys* reswm i mewn am yr hyn a ddywedwyd mewn ymadrodd o'r blaen ; megys,

Rhaid ei fod yn agos, canys mi a'i gwelais gynneu.

Y mae *am* ac *o herwydd*, pan fyddont yn aelod blaenaf brawddeg yn fwy arbwysig na *gan.* Y mae *o herwydd*, pan y byddo yn aelod olaf brawddeg, yn fwy arbwysig na *canys* hefyd. Y mae peth gwahaniaeth ystyr rhwng *o herwydd*, ac *o blegid*, ac *o achos ;* ond gan na chydnabyddir y gwahaniaeth mewn ymarferiad, ni byddai yn wiw ceisio ei ddangos mewn grammadeg elfenol.

88. Y CYFRYNGIAID. Gelwir pob gair a llef, a arfero dyn i ddangos ei deimladau a'i swyson *(emotions)*, yn nwydair neu gyfryngiad. Nid priodol yw galw nebun o honynt yn rhan ymadrodd.

Dyma'r rhai mwyaf cyffredin o honynt,—Ffei ! Ha ! Hai ! He ! Ho ! Holo ! Hys ! O ! Och ! Ocho ! Ow ! Oio ! Pw ! Twt ! Ust ! Wele ! Wfft ! Wi !

# Y TRYDYDD CAM.

---

## T R E I G L I A D.

---

### TREIGLIAD Y LLYTHYRENAU.

**89.** Y mae yn y Gymraeg *dri deg ac un* o lythyrenau; saith o honynt yn *llafar*, a'r lleill yn *aflafar*. Anghroew, ac nid mud, a feddylir wrth y gair aflafar. Pob llythyren y gellir ei llefaru yn groew, ac yn agored, ar ei phen ei hun, LLAFAROG, neu lythyren lafar, ydyw. Pob llythyren nas gellir ei llefaru felly, GOSAIN, neu lythyren aflafar, ydyw.

**90.** Dyma'r llafarogion,—*a, e, i, o, u, w, y.*

Dangosir yn mhellach yn mlaen fod *i* ac *w*, weithiau yn oseiniaid.

**91.** Y mae rhai o honynt, naill ai er mwyn gwahaniaethu rhyw a rhif, neu er mwyn cynghanedd, yn agored i gyfnewid. *A, e, o, u, w, y,* ydyw y rhai newidiadwy. Y mae *i*, ac *u*, yn annewidiadwy.

**[Dywedwyd y byddys, weithiau, yn newid llafarogion, er mwyn cynghanedd. Y mae hyny yr un peth a dywedyd y byddys yn eu newid er mwyn dwyn gwahanol ranau gair i gyttundeb â'u gilydd, o ran sain. Gwneir hyn yn y Gymraeg, yn mron bob amser, trwy feinhau llafarog lydan ei sain, a fyddo yn sill wreiddiol gair, gan ei gwneuthur yn ogydryw â rhyw lafarog fain ei sain a fyddo mewn sill chwanegol; megys, c*a*r, c*a*r*a*f, cer*i*; c*a*d*a*rn, ced*y*rn; gw*a*s, gw*ei*sion. Gelwir y dylanwad sydd gan lafarog fain ei sain ar lafarog lydan a'i blaenoro yn *umlaut* gan yr Ellmyn; yn *attenuation* gan y Saeson; ac yn *caol le caol* (cul gyda chul) gan y Gwyddyl. Y mae ol y dylanwad hwn ar eiriau amryw genhedloedd heblaw y rhai Celtaidd; canys efe a droes *facio* yn *feci* yn y Lladin; *bach, buch,* yn *bäche, bücher* yn yr Ellmynaeg; a *man, old,* yn *men, elder* yn y Seisneg. Un achos paham y mae cynnifer o eiriau Cymreig na chanfyddir mo'r ddeddf hon ynddynt ydyw, fod y lythyren a barodd y newidiad wedi colli o honynt, tra y mae y llythyren a newidiwyd yn aros. Ped adferid y llythyren golledig i'w lle, ceid gweled y rhoddai hi gyfrif am ffurf y lythyren lafar ag sydd yn aros.]**

## Y LLAFAROGION NEWIDIADWY.

**92.** Wele yn canlyn enghreifftiau o'r newidiadau mwyaf cyffredin :—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Try *a* | yn | *ai;* | megys, brân, brain; pâr, pair. |
| „ | — | *e;* | megys, gwan, gwendid; dangos, dengys. |
| „ | — | *ei;* | megys, carw, ceirw; dal, deil. |
| „ | — | *y;* | megys, cadarn, cedyrn; bwytta, bwytty. |
| *e* | — | *y;* | megys, cyllell, cyllyll; careg, ceryg. |
| *o* | — | *y;* | megys, corph, cyrph; toraf, tyr. |
| *w* | — | *o;* | megys, trwm, trom; llwm, llom. |
| „ | — | *y;* | megys, pwn, pynau; cwsg, cysgu. |
| *y* | — | *e;* | megys, byr, ber; melyn, melen. |

Meinhëir amryw o lafarogion deublyg hefyd,—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Try *ai* | yn | *ei;* | megys, cais, ceisio; llai, lleiaf. |
| *au* | — | *eu;* | megys, haul, heuliau; traul, treulio. |
| *aw* | — | *o;* | megys, brawd, brodyr; prawf, profi. |
| „ | — | *y;* | megys, addaw, eddy; gadaw, gedy. |
| *oi* | — | *y;* | megys, troi, try; ffoi, ffy. |

## Y GOSEINIAID.

**93.** Y mae goseiniaid naill ai yn *gyntefig*, neu yn *darddedig*. Gosain gyntefig yw hono sydd yn dechreu gair yn y ffurf y ceir o hyd iddo mewn geiriadur. Gosain darddedig yw hono sydd yn dechreu gair yn y ffurf a fydd arno ar ol ei gyfnewid gan y gair o'i flaen.

**94.** Y mae deg a phedair o oseiniaid cyntefig; deg ac un o rai tarddedig; a phump o rai sydd weithiau yn gyntefig ac weithiau yn darddedig.

| Cyntefig. | Tarddedig. | Cyntefig a Tharddedig. | Cyntefig. | Tarddedig. | Cyntefig a Tharddedig. |
|---|---|---|---|---|---|
| P | ph, mh | b | *Ll | l | - |
| T | th, nh | d | *Rh | r | - |
| C | ch, ngh | g | Ch (chw) | - | - |
| B | f | m | Ff | - | - |
| D | dd | n | H | - | - |
| G | ng | - | N | - | - |
| M | f | - | S | - | - |

* Nid o herwydd deddf, ond o herwydd defod, y dodais *ll* ac *rh* gyda'r llythyrenau cyntefig, ac *l* ac *r* gyda'r rhai tarddedig. Yn wirioneddol, nid o *ll* y tardd *l*, ac nid o *rh* y tardd *r*. Yn y gwrthwyneb, *ll* sydd yn tarddu o *l*, ac *rh* o *r*. A'u barnu wrth ddeddfau sain, llythyrenau meddal yw *l* ac *r;* a rhai chwythol yw *ll* ac *rh*.

95. Rhenir y goseiniaid cyntefig yn ddau ddosbarth; sef, y rhai newidiadwy, a'r rhai annewidiadwy. Naw o honynt sydd yn newidiadwy, a phump sydd yn annewidiadwy.

Y CYNTEFIGION—

| NEWIDIADWY. | ANNEWIDIADWY. |
|---|---|
| *p, t, c, b, d, g, m, ll, rh.* | *ch (chw), ff, h, n, s.* |

96. Rhenir y goseiniaid newidiadwy etto fyth yn dri dosbarth.

Cynnwys y dosbarth blaenaf *p, t, c*—y rhai a oddefant eu newid i dair sain; sef, y *feddal,* y *ffroenol,* a'r *chwythol.*

Cynnwys yr ail ddosbarth *b, d, g*—y rhai a newidir i ddwy sain; sef, y *feddal,* a'r *ffroenol.*

Cynwys y trydydd dosbarth *m, ll, rh.* I'r sain *feddal* yn unig y newidir y rhai hyn.

| | Y goseiniaid newidiadwy. | Sain gyntefig. *ein, eich, eu.* | Sain feddal. *dy, ei* (gwr.). | Sain ffroenol. *fy.* | Sain chwythol. *ei* (ben.). |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | P | Paun | *b*aun | *mh*aun | *ph*aun |
| | T | Tarw | *d*arw | *nh*arw | *th*arw |
| | C | Cath | *g*ath | *ngh*ath | *ch*ath |
| 2 | B | Boch | *f*och | *m*och | — |
| | D | Dant | *dd*ant | *n*ant | — |
| | G | Gên | -ên | *ng*ên | — |
| 3 | M | Maint | *f*aint | — | — |
| | Ll | Lliw | *l*iw | — | — |
| | R | Rhyw | *r*yw | — | — |

97. NEWIDIAD CYSTRAWIAETHOL y gelwir y newidiad a wneir ar osain yn nechreu gair, am fod a wnelo y newidiad hwn, *yn bresennol,* â chystrawiaeth. Yn y 'CAM' *Cystrawiaeth,* gan hyny, yr ymdrinir âg ef.

98. NEWIDIAD CYNGHANEDDOL y geilw rhai y newidiad a wneir ar osain yn mherfedd gair. Yn nghanol *gair cyfansawdd,* sef gair a wnaed o ddau air, neu o ragsill a gair, y bydd y newidiad hwn, yn fwyaf cyffredin.

**Nid oes a wnelo grammadeg cyffredin â'r newidiadau cynghaneddol a wnaethpwyd unwaith am byth; megys, *dadl, afal, aber, chwerthin, brâg,* am *datl, abal, aper, gwerthin, brac.***

ENGHREIFFTIAU:

Glaslangc, yn lle glas-llangc.
Serddewin, yn lle sêr-dewin.
Mânblu, yn lle mân-plu.
Hawddfyd, yn lle hawdd-byd.
Gwrthddrych, yn lle gwrth-drych.
Athrist, yn lle a-trist.
Amdo, yn lle am-to.
Anfri, yn lle an-bri.
Anmharch, yn lle an-parch.
Anghyfwerth, yn lle an-cyf-gwerth.
Digalon, yn lle di-calon.
Trachas, yn lle tra-cas.
Tywynu, yn lle dy-gwynu.
Tymmhor, yn lle tymhp'hor.
Pummed, yn lle pump-ed.
Tànnau, yn lle tant-au.

**99.** Y mae newidiad o fath arall ar yr ail ddosbarth o lythyrenau, canys try *b*, *d*, *g*, mewn manau yn *p*, *t*, *c*; megys, cyffely*b*, cyffely*p*ed; rha*d*, rha*t*ach; teby*g*, teby*c*af. Geilw un ieithofydd y newidiad anghyffredin hwn yn 'newidiad negyddol.'

Rhaid cyd-addef âg ULICK BOURKE fod y Cymry, wrth newid y goseiniaid i arwyddo pob rhyw newidiad mewn sain 'wedi andwyo llythyraeth eu hiaith, ac wedi gwneyd geirfonedd yn bwnc tra dyrus.' Y newidiadau hyn sydd yn ei gwneuthur hi mor anhawdd i estron ddysgu, hyd yn oed, ddarllen y Gymraeg.

Afreolaidd ac ansefydlog a fydd llythyreniad geiriau Cymreig, a thywyll fydd eu tarddiad hefyd i'r cyffredin, hyd oni fabwyser orgraff debyg i'r un Wyddelig. Cedwir y goseiniaid yn ddigyfnewid yn y Wyddelaeg, a dangosir y newidiadau seiniol drwy yr hyn a elwir yn chwytholiad (*lleddfiad* fuasai yr enw addasaf) a chyfarsangiad (*aspiration and ellipsis*).

Dengys y golofn flaenaf o'r tabl sydd isod pa lythyrenau a ellir eu chwytholi yn y Gymraeg. Dengys yr ail golofn pa fodd y chwytholir hwynt yn y Wyddelaeg, a dengys y drydedd golofn pa sain sydd iddynt wedi eu chwytholi:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| p | ṗ | = | ph |
| t | ṫ | = | th |
| c | ċ | = | ch |
| b | ḃ | = | bh, sef v |
| d | ḋ | = | dh, neu dd |
| g | ġ | = | gh (diarfer) |
| m | ṁ | = | mh, sef v |

Dywedir fod llythyren yn cael ei chyfarsangu, pan osteger ei sain, ac y seinier llythyren arall gyfrywiol, yr hon a ddodir o flaen y llythyren a gyfarsengir.

| Cyfarsengir | gan | megys | A lafarir fel ped ysgrifenid |
|---|---|---|---|
| p | b | dy b—pen | dy ben |
| t | d | dy d—tir | dy dir |
| c | g | dy g—ci | dy gi |
| b | m | fy m—bro | fy mro |
| d | n | fy n—da | fy na |
| g | n (ffroenol) | fy *ngwr | fy ngwr |

* Gwelir fod yr enghraifft hon yn gwyro ychydig oddi wrth y rheol, gan fod yr *n* a'r *g* yn ymgyfuno, gan wneuthur un sain newydd. Nis gellir ysgoi yr afreolaeth yma heb arfer llythyren newydd, dyweder γ.

Ond y mae yn fwy na thebygol fod yr arferiad o'r dull Gwyddelig yn beth rhy chwyldroadol i'w ddisgwyl. Er mwyn gwneyd y goreu o'r gwaethaf, rhaid ymfoddloni ar fabwyso arwyddion syml, yn lle yr arwyddion deublyg a thriphlyg sydd yn dolurio cymmaint ar lygaid estron—a brodor hefyd. Byddai tarddiad geiriau yn amlycach, pe gwnelid cymmaint a hyny; canys onid er mwyn arbed llafur iddynt eu hunain, a boddhau llygaid y darllenydd y temtir cynnifer o ysgrifenwyr i fwrw ymaith lythyrenau gwreiddiol, ac anhebgor? Pa beth, gan hyny, sydd yn lluddias argraphwyr i ddechreu arfer

| | |
|---|---|
| *x* yn lle ch | *f* yn lle ff ac ph |
| *δ* neu ꝺ yn lle dd | γ neu *q* yn lle ng |
| *v* yn lle f | *z* yn lle th |

Gellid, os mynid, arfer rhyw arwydd syml yn lle *ll* hefyd; eithr gwell efallai, a fyddai gadael i'r *h* rymusol aros yn mhob man y seinier hi ynddo; megys, *rhaw, fy mhen, fy nhad.*

Nis gwn a oes rhyw genedl yn seinio *q* fel *ng*; ond y mae Mr. A. J. ELLIS yn ei harfer yn lle *ng* yn ei "*Early English Pronunciation.*"

Byddai yn haws o lawer i bobl anghyfiaith gael o hyd i eiriau Cymreig mewn geiriadur, pe dodai argraphwyr iot dan *b, x (ch), d, f, g, m, n,* pan y byddont yn llythyrenau tarddedig; a tholnod (') o flaen geiriau wedi eu hamddifadu o'r osain ddechreuol *g.*

Wele yn canlyn ddernyn o'r "Gweledigaethau," yn y llythyraeth gyffredin, ac yn y llythyraeth a gynnygiwyd,—

Erbyn hyn, mi adwaenwn rai oedd yn edrych arnaf ffyrnicaf o'r cwbl. Yna dechreuasant sibrwd o glust i glust ryw ddirgel swynion, ac edrych arnaf; a chyda hyny, torodd yr hwndrwd, a phawb â'i afael ynof, codasant fi ar eu hysgwyddau fel codi Marchog Sir; ac yna, ymaith â ni fel y gwynt, tros dai a thiroedd, dinasoedd a theyrnasoedd, a moroedd a mynyddoedd, heb allu dal sylw ar ddim, gan gyflymed yr oeddynt yn hedeg. A pheth sydd waeth, dechreuais ammheu fy nghymdeithion wrth eu gwaith yn gwrthuno ac yn cuchio arnaf eisiau canu dychan i'm brenin fy hun......Wrth iddynt son am weddi, mi a ruddfenais ryw ochenaid tuag i fyny am *faddeuant a help;* a chynted y meddyliais, gwelwn ryw oleuni

o hirbell yn tori allan—O mor brydferth! Fel yr oedd hwn yn nesau, yr oedd fy nghymdeithion i yn tywyllu ac yn diflanu; a chwipyn dyma'r Dysglaer yn cyfeirio tros y castell atom yn union: ar hyn gollyngasant eu gafael; ac ar eu hymadawiad troisant ataf guwch uffernol; ac oni buasai i'r Angel fy nghynnal, buaswn ddigon mân er gwneyd pastai cyn cael daear.—865 *o lythyrenau.*

Erbyn hyn, mi adwaenwn rai oeð yn edryx arnav fyrnicav o'r cwbl. Yna dexreuasant sibrwd o glust i glust ryw ðirgel swynion, ac edryx arnav; a xyda hyny toroð yr hwndrwd, a fawb â'i 'avael ynov, codasant vi ar eu hysgwyðau vel codi Marxog Sir; ac yna ymaiz â ni vel y gwynt, tros dai a ziroeδ, dinasoeδ a zeyrnasoeδ, a moroeδ a mynyδoeδ, heb 'allu dal sylw ar δim, gan gyvlymed yr oeδynt yn hedeg. A fez sy 'waez, dexreuais ammheu vy qhymdeizion wrz eu gwaiz yn gwrzuno ac yn cuxio arnav eisiau canu dyxan i'm brenin vy hun...... Wrz iδynt son am 'weδi, mi a ruδvenais ryw oxenaid tuag i vynu, am vaδeuant a help; a xynted y meδyliais, gwelwn ryw 'oleuni o hirbell yn tori allan—O mor brydverz! Vel yr oeδ hwn yn nesäu, yr oeδ vy qhymdeizion i yn tywyllu ac yn divlanu; a xwipyn dyma'r Dysglaer yn cyveirio tros y castell atom yn union: ar hyn gollyγasant eu gavael, ac ar eu hymadawiad troisant atav guwx ufernol; ac oni buasai i'r Aγel vy γhynnal, buaswn δigon mân er gwneyd pastai cyn cael daear. —680 *o lythyrenau; sef, llai o* 185.

---

## TREIGLIAD ENWAU.

**100.** Treiglir enwau i ddangos rhyw, a rhif.

### RHYW.

**101.** Gwahaniaethir rhyw neu genedl enwau yn amryfal.

(1.) TRWY EIRIAU GWAHANOL; megys,

| | |
|---|---|
| Adiad, hwyaden | Hespwrn, hespin |
| Baedd, hwch | Hwrdd, dafad |
| Bustach, anner | Chwegrwn, chwegr |
| Carw } ewig | Daw, gwaudd |
| Hydd } ewig | Nai, nith |

ac eraill mwy hysbys.

Yn y dosbarth hwn y rhaid dodi geiriau cyfansawdd o fath *priodfab, priodferch; gwasanaethwr, gwasanaethferch.*

A siarad yn fanwl, ni threiglir un o'r geiriau sydd uchod; canys nid newidiad gair, ond y newidiad a wneir *ar* air a feddylir wrth dreigliad.

(2.) TRWY CHWANEGU Y TERFYNIAD BENYWOL *es* AT ENWAU GWRYWOL; megys,

Pechadur, pechadures. Tywysog, tywysoges. Llew, llewes.

(3.) TRWY DROI Y TERFYNIAD *yn* YN *en;* megys,

Asyn, asen. Hogyn, hogen. Merlyn, merlen.

**102.** Pan fyner nodi ystlen gwrthddrych, yn gystal a rhyw yr enw, fe chwanegir 'gwryw,' 'benyw,' 'bwch,' neu 'geiliog,' at yr enw; megys,

Cath wryw. Colomen fenyw. Bwch gafr. Ceiliogwydd.

### RHIF.

**103.** Y mae tair ffordd i droi enwau unigol yn lliosog,—

(1.) TRWY NEWID Y LLAFAROGION [*gweler* 92]; megys,

| | |
|---|---|
| Bran, brain | Ffordd, ffyrdd |
| March, meirch | Aradr, erydr |
| Cyllell, cyllyll | Bachgen, bechgyn |

(2.) TRWY CHWANEGU SILL; megys,

| | | |
|---|---|---|
| Gof-aint | Ewin-edd | Mor-oedd |
| Mam-au | Meistr-i | Llw-on |
| Brat-iau | Meistr-iaid | Dyn-ion |
| *Merch*-ed | Llew-od | Afon-ydd |

(3.) TRWY NEWID A CHWANEGU; megys,

| | |
|---|---|
| Câr, ceraint | Haul, heuliau |
| Gwas, gweision | Llawr, lloriau |
| Saer, seiri | Cwr, cyrau |
| Craig, creigiau | Cwlwm, cylymau |

**104.** Wele yn canlyn restr o derfyniadau unigol, gyda'r terfyniadau lliosog a ofynant ar eu hol, neu yn eu lle,—

ACH (dyn a milod) + *od;* corachod, bwbachod.
ACH (peth) + *au;* cadachau.
ADUR (dyn) + *iaid;* pechaduriaid.
ADUR (peth) + *on* ac *iau;* gwyddoniaduron, &c.
AID (llonaid) + *eidiau;* tameidiau, hobeidiau.
AN (dyn a milod) + *od;* llumanod, gwlanod.
AN (peth) + *au;* cobanau.
AWD (peth a wnaed) + *odau* ac *odion;* treithodau.
FA + *feydd* ac *oedd;* gyrfeydd, cynnulleidfaoedd.
IAD (dyn a milod) + *iaid;* Samariaid, gleisiaid.
IAD (gweithred) + *au;* casgliadau.
OD (ergyd, &c.) + *iau* ac *ion;* dyrnodiau, bargodion.
OG + *ion;* tywysogion.
OR (dyn) + *ion;* llenorion.
OR (peth) + *au* ac *iau;* trysorau, ysguboriau.
YDD + *ion* (ac weithiau *iau, oedd, &c.*); llywyddion.
YN (dyn a milod) + *od;* lliprynod, merlynod.
YN (peth) + *au;* rheffynau.

**105.** Sylwadau manylach ar y terfyniadau,—

* AU ac IAU yw y terfyniadau lliosog mwyaf cyffredin; er hyny, anfynych yr arferir hwynt i liosogi gwrthddrychau byw.
* WYR, IAID, ac ION:—A'r rhai hyn yn fwyaf cyffredin y liosogir enwau bodau rhesymol.
* OD a arferir fel rheol i liosogi enwau milod.
* OEDD a arferir i liosogi enwau pethau ag y mae tuedd ynddynt i beri syndod a myfyrdod; megys, *moroedd, mynyddoedd,* oesoedd, nerthoedd, lluoedd.

* ACH ac OS. Chwanegir y terfyniadau yna at enwau lliosog. Dirmyg a arwydda *ach*, anwyldeb a arwydda *os* yn gyffredin; megys, dynionach, ŵynos.

Y mae *ach* yn derfyniad unigol hefyd; megys, corach, cyfrinach.

* AN, YN, EN, IG. Terfyniadau bychanol y gelwir y rhai yna; am mai bychanu ystyr yr enwau y byddont yn nglŷn wrthynt yw eu gwaith, yn fwyaf cyffredin; megys, baban, bachgenyn, genethig, pelen. Gwelir fod *an* yn perthyn i'r ddeuryw; *yn* i'r rhyw wrywaidd; *en* ac *ig* i'r rhyw fenywaidd. Arferir *yn* ac *en* mewn llawer o eiriau i wahaniaethu rhyw yn unig, ac nid i fychanu; megys, asyn, asen.

* Tröir enw lliosog yn unigol, weithiau, trwy newid llafarog, a chwanegu *yn* neu *en;* megys, plant, plentyn; derw, derwen.

* Weithiau, bwrir ymaith yr *yn* a'r *en*, wrth chwanegu y terfyniad lliosog; megys, ysglodyn, ysglodion; cwningen, cwningod.

* Lliosogir rhai o'r aelodau sydd yn gymmheiriaid drwy ddodi y cyfenw rhifol *dau* neu *dwy* o flaen y rhif unigol; megys, deulin, deudroed, dwylaw, dwyfron. Ond arferir y ffurfiau lliosog hefyd—bronau, gliniau, traed.

* Y mae rhai enwau ag y rhaid eu troi yn enwau mynegeiriol cyn y gellir eu lliosogi; megys, serch, serchiad-au; gwaradwydd, gwaradwyddiad-au.

* Rhaid troi rhai enwau unigol yn gyfenwau cyn y gellir eu lliosogi; megys, gwlaw, gwlawog, gwlawogydd.

* Y mae ambell enw unigol âg iddo ddwy ffurf; ac, weithiau, chwanegir y terfyniad lliosog at y ffurf mwyaf anghynnefin; megys, chwaer neu chwior, chwiorydd; pared neu parwyd, parwydydd.

* Lliosogir rhai enwau mewn dwy neu dair o ffyrdd; megys, aden, edyn, adenydd; amser, amserau, amseroedd. Gwneir hyn, weithiau, er mwyn dangos eu gwahanol ystyron; megys, cynghor (annogaeth), cynghorion; cynghor (cynnadledd), cynghorau; eglwys (cynnulleidfa), eglwysi; eglwys (addoldy), eglwysydd.

* Nis gellir, fel rheol, liosogi yr enwau sydd ar *ddefnyddiau,* megys pridd; nac ar *gyflyrau*, megys cwsg; nac ychwaith ar *briodoliaethau,* oddigerth pan fyddo iddynt y terfyniad *aeth*, *der*, *did*, *dod*, *edd*, neu *yd*. Lliosogir y rhai hyn drwy chwanegu *au;* megys gwasanaeth-au.

## TREIGLIAD CYFENWAU.

**106.** Treiglir cyfenwau i ddangos rhyw, rhif, a gradd.

### RHYW.

**107.** Y mae cyfenwau naill ai yn *wrywaidd,* neu yn *fenywaidd,* neu ynte yn *gyffredin.*

**108.** Gwneir y rhai gwrywaidd yn fenywaidd yn—

(1.) TRWY FEDDALU YR OSAIN FLAEN, OS BYDD HI YN UN NEWIDADWY; megys, dyn da, dynes *dda*; capel bach, eglwys *f*ach.

(2.) TRWY DROI *w* YN *o*, AC *y* YN *e*, A MEDDALU YR OSAIN FLAEN HEFYD; megys,

| *w* | *o* |
|---|---|
| dyn brwnt | dynes front |
| cledd crwm | cangen grom |
| maen crwn | careg gron |
| gẁn cwta | pais gota |
| llyn dwfn | afon ddofn |
| llangc dwl | llangces ddol |
| y dydd hwn | yr awr hon |
| gwr llwm | gwraig lom |
| bachgen tlws | geneth dlos |
| dyn trwsgl | dynes drosgl |
| *y* | *e* |
| ci brych | gast frech |
| corph byr | coes fèr |
| march cryf | caseg gref |
| pren ffyrf | coeden fferf |
| dilledyn gwych | gwisg wêch |
| gwrthban gwlyb | cynfas wlêb |
| talcen gwyn | boch wèn |
| llysieuyn gwyrdd | dalen werdd |
| pydew hysp | ffynnon hêsp |
| maen llyfn | careg lefn |
| ymadrodd llym | araeth lem |
| lliw melyn | gwawr felen |
| Cymro pengrwn | Cymraes bengron |
| hogyn talgryf | hogen dalgref |
| *diwrnod tywyll* | noson dywell |

109. Yr un ffurf sydd ar gyfenwau o ryw cyffredin pa un bynag ai ar ol enwau gwrywaidd, ai ar ol enwau benywaidd y byddont; megys, dyn hagr, dynes hagr; llangc chwerthinllyd, llangces chwerthinllyd.

RHIF.

110. Y mae llawer o gyfenwau a gymmerant ffurf liosog, er nad bob amser y rhoir iddynt y ffurf hono gydag enwau lliosog. Cyfenwau byrion, syml, gan mwyaf, ydyw y rhai hyn, er fod o honynt hwythau rai heb ffurf liosog; meġys, da, glân, teg, hên.

111. Y mae tair ffordd i liosogi cyfenwau,—

(1.) TRWY CHWANEGU *on*, NEU *ion*; megys, budr-on, cul-ion.

O'r ddau hyn, *ion* yw y terfyniad mwyaf cyffredin; eithr *on* a arferir ar ol *u* ac *w*; ac hefyd ar ol *r*, pan y bydd yn gwneyd hanner sill; megys, du-on, gwelw-on, budr-on.

(2.) TRWY NEWID Y LLAFAROGION YN NGHORPH GAIR; megys, buan, buain; cadarn, cedyrn.

(3.) TRWY NEWID Y LLAFAROGION, A CHWANEGU *on* NEU *ion*; megys, glâs, gleision; maith, meithion; crwn, crynion.

112. Unffurf yw cyfenwau gwrywaidd a benywaidd yn y rhif liosog; megys, gwŷr cryfion, gwragedd cryfion; cŵn melynion, geist melynion. Nid gwragedd grefion, na geist felenion.

Ymdrinir â sefyllfa'r cyfenw, a'i gydweddiad â'r enw o dan y pen 'CYSTRAWIAETH.'

113. Y CYFENWAU RHIFOL. Ychydig o'r rhifau a dreiglir—ac i ddangos rhyw yn unig y treiglir y rhai hyny; megys, dau, dwy; pedwerydd, pedwaredd.

Gwir yw, y gellir lliosogi y rhifau *un*, *deg*, *ugain*, &c. Ond yr ydys wrth wneuthur hyny yn eu troi yn enwau; canys enwau, ac nid cyfenwau, yw unau, degau, ugeiniau. Enw, ac nid cyfenw, yw pob rhyw rif, pan y safo *ar ei ben ei hun.*

Rhaid addef fod y dull cyffredin sydd gan y Cymry i gyfrif yn chwithig ynddo ei hun, ac yn gwbl anaddas i'r oes brysur a masnachol hon. Gan eu bod yn trefnu y rhifnodau yn ol dull estroniaid, dylent, er mwyn cyssondeb a hwylusdod, eu darllen hefyd yn ol dull estroniaid. Pa ham, er enghraifft, y gelwir y rhifnodau 99 yn 'bedwar ar bymtheg a phedwar ugain;' canys nid oes yn eu plith un rhifnod i arwyddo na'r 'pedwar,' na'r 'pymtheg,' (pump ar ddeg) na'r 'pedwar' arall, na'r 'ugain,' yr ymdrafferthir i'w dywedyd? Ond pe gelwid 99 yn naw deg a naw, fe enwid y ddau rifnod, a dim ond y ddau; a hyny hefyd yn y drefn y safant. Yn y modd byr a syml hwn, o ran hyny, y bydd pawb yn awr yn nodi rhif yr emynau a roddant i'w canu.

114. Wele islaw restr o'r rhifnodau pwysicaf ynghyd â'r enwau a farnaf y rhai cymmhwysaf arnynt:—

| Y rhifnodau. | Y prif rifau. | Y rhifau trefnol. |
|---|---|---|
| 1 | un | unfed, cyntaf |
| 2 | dau, dwy | ail, deufed, dwyfed |
| 3 | tri, tair | trydydd, trydedd |
| 4 | pedwar, pedair | pedwerydd, pedwaredd |
| 5 | pump, pum | pummed |
| 6 | chwech, chwe | chweched |
| 7 | saith | seithfed |
| 8 | wyth | wythfed |
| 9 | naw | nawfed |
| 10 | deg, deng | degfed |
| 11 | deg ac un | deg ac unfed |
| 12 | deg a dau | deg ac ail (deufed, &c.) |
| 13 | deg a thri | deg a thrydydd |
| 14 | deg a phedwar | deg a phedwerydd |
| 15 | deg a phump | deg a phummed |
| 16 | deg a chwech | deg a chweched |
| 17 | deg a saith | deg a seithfed |
| 18 | deg ac wyth | deg ac wythfed |
| 19 | deg a naw | deg a nawfed |
| 20 | deuddeg | deuddegfed |
| 21 | deuddeg ac un | deuddeg ac unfed |
| 30 | triddeg, neu *tri deg* | triddegfed, neu tri degfed |

| Y rhifnodau. | Y prif rifau. | Y rhifau trefnol. |
|---|---|---|
| 40 | pedwarddeg, neu pedwar deg | pedwarddegfed, neu pedwar degfed |
| 50 | pumddeg, neu pum deg | pumddegfed, neu pum degfed |
| 60 | chweddeg, neu chwe deg | chweddegfed, neu chwe degfed |
| 70 | seithddeg, neu saith deg | seithddegfed, neu saith degfed |
| 80 | wythddeg, neu wyth deg | wythddegfed, neu wythdegfed |
| 90 | nawddeg, neu naw deg | nawddegfed, neu naw degfed |
| 100 | cant, can | canfed |
| 300 | trichant | trichanfed |
| 779 | Seithgant a seithddeg a naw; neu Saith gant saith deg a naw, &c. | |
| 1,000 | mil | milfed |
| 2,000 | dwyfil | dwyfilfed |
| 10,000 | myrdd | myrddfed |
| 1,000,000 | milfil | milfilfed |

*Sylw* 1.—Yn ol cyfaledd, yn hytrach nag yn ol rheol y tröais 'deg' yn 'ddeg' mewn rhai o'r geiriau cyfansawdd sydd uchod. Y mae yn rhydd i un wyro ychydig oddi wrth reol, er mwyn unffurfiaeth, rhugledd a sain.

*Sylw* 2.—Er mwyn gochel amwysedd y dodais *a* rhwng holl ranau y rhifau cyfansawdd; ond gall y darllenydd, os myn, beidio arfer *a* o gwbl, neu ynte gall ei harfer hi o flaen y rhan olaf yn unig; megys, 'seithgant seithddeg naw,' neu ynte, 'seithgant seithddeg a naw.'

## Gradd.

**115.** Y mae pedair gradd i bob cyfenw Cymraeg ag sydd yn dynodi math a maint; sef, Y Gynradd, y Gyfuwchradd, yr Uwchradd, a'r Uchafradd.

Y cyfenw yn ei gyflwr cyntaf a symlaf yw y gynradd.

**116.** Ffurfir y gyfuwchradd trwy chwanegu *ed* at y gynradd; ffurfir yr uwchradd trwy chwanegu *ach;* ffurfir yr uchafradd trwy chwanegu *af.*

**117.** Pan fyddo *ed* yn nherfyn y gyfuwchradd, arferir *cyn* yn gyffredin o flaen y cyfenw; megys, '*Cyn* laned a'r lili.' *Mor* a arferir pan y byddo heb *y terfyniad ed;* megys, 'Mor hylithr a dŵr hyd asbant.'

Weithiau, gwneir gair yn gyfenw o'r radd hon â'r rhagsill *cyd;* megys, *cyf*uwch, *cyf*led, *cy*hyd. Anfynych y newidir dim ar gyfenwau y byddo *cyd* yn eu dechreu; megys, 'Y mae Huw cynddrwg a minnau.' 'Yr wyf fi cystal (neu yn gystal) dyn a thi.' 'Nid yw y ffordd hon gyhyd a'r llall.'

Cyfartalwch y mae'r gyfuwchradd yn ei ddynodi yn yr holl enghreifftiau a roddwyd; ond syndod a ddynoda, weithiau; megys, 'Mor ofnadwy yw y lle hwn!' 'Gynted y gwywodd!' Pan y dynoda hi syndod, anfynych yr arferir yr amgylchiad *cyn*.

Y mae ystyr y terfyniad *ach* ac *af* yn ddigon amlwg. Prin y rhaid dyweyd y gellir ffurfio yr uwchradd a'r uchafradd hebddynt hwy, trwy arfer yn eu lle y geiriau *mwy* a *llai*, *mwyaf* a *lleiaf*.

**118.** Nid chwanegu yn unig a wneir at y gynradd wrth ffurfio y graddau eraill; ond newidir peth arni hefyd. Fel enghraifft, pa bryd bynag y byddo y llythyrenau *b*, *d*, *g*, yn ei therfyn, fe'u caledir hwynt yn y graddau eraill; megys,

teby*g*, teby*c*ed, teby*c*ach, teby*c*af
llwy*d*, llwy*t*ed, llwy*t*ach, llwy*t*af
cyffely*b*, cyffely*p*ed, cyffely*p*ach, cyffely*p*af

**Efallai mai er mwyn gochel amwysedd, ac nid er mwyn cynghanedd, y caledwyd y llythyrenau yna; canys hysbys yw, mai mynegeiriau yw y ffurfiau *cyffelybed, cyffelybaf; llwyded, llwydaf*.**

**119.** Newidir llafarogion y gynradd yn gyttunol â'r rheolau cyffredin [*gweler* 92]; er enghraifft,

Tröir *ai* yn *ei*; megys, maith, meithed, &c.
Tröir *aw* yn *o* (weithiau); megys, tlawd, tlotted, &c.
Tröir *w* yn *y*; megys, brwnt, brynted, bryntach, &c.

**120.** Rhoddaf yma y casgliad a geir yn y grammadegau o'r cyfenwau hyny a gymherir yn afreolaidd,—

| Y gynradd. | Y gyfuwchradd. | Yr uwchradd. | Yr uchafradd. |
|---|---|---|---|
| agos | nesed | nes | nesaf |
| bach | lleied | llai | lleiaf |
| buan | cynted | cynt | cyntaf |
| da | cystal | gwell | goreu |
| drwg | gwaethed / cynddrwg | gwaeth | gwaethaf |
| hawdd | hawsed | haws | hawsaf |

| Y gynradd. | Y gyfuwchradd. | Yr uwchradd. | Yr uchafradd. |
|---|---|---|---|
| hen | hyned | hŷn, hynach | hynaf |
| hir | hired, cyhyd | hwy | hwyaf |
| ieuanc | ieuenged | iau, ieuengach | ieuaf, ieuengaf |
| isel | ised | is | isaf |
| llawer | cymaint, cynnifer | mwy | mwyaf, y rhan fwyaf |
| llydan | lleted | lletach | lletaf |
| mawr | cymaint | mwy | mwyaf |
| uchel | uched, cyfuwch | uwch | uchaf |
| (blaen) | - | - | blaenaf |
| (ol) | - | | olaf |
| (diwedd) | - | - | diweddaf |
| (pen) | - | - | penaf |
| - | - | trech | trechaf |
| - | - | - | eithaf |

121. Terfyniadau Cyfenwau, a'u hystyr.

Adwy, dealladwy—*a ellir ei* ddeall.
Aid, euraid—*gorchuddiedig âg* aur.
Aidd, (1) gwasaidd—*yn tebygu i* was.
Aidd, (2) clafaidd—*lled* glaf.
Edig, (1) ysgrifenedig—*wedi ei* ysgrifenu.
Edig, (2) gostyngedig=gostyngaidd.
Fawr, gwerthfawr—*mawr ei* werth.
Gar, darllengar—*yn caru* darllen.
Ig neu ic—*ic* a ddylai fod ar ol *p*, *t*, *c*, *s*, *ff*, *ph*, *th*, *ch*.
Ig, (1) Celtig, neu Celtic—*perthynol i'r* Celtiaid.
Ig, (2) blysig—*llawn o* flys.
Lawn neu lon, ffyddlawn—*llawn o* ffydd.
Llyd, tanllyd—*llawn o* dân.
Og neu iog, (1) coediog—*llawn o* goed.
Og neu iog, (2) arfog—*a chanddo* arfau.
Ol neu iol, (1) daearol—*perthynol i'r* ddaear.
Ol neu iol, (2) duwiol—*yn tebygu i* Dduw.
Us, medrus—*llawn o* fedr.

Y mae *ol* yn 'was pawb;' canys gorfydd arno yn fynych lanw lle *adwy*, *aidd*, *og*, &c.; megys, *cymmydogol*=cymmydogaidd; *anorchfygol*=anorchfygadwy; *synwyrol*=synwyrog. Weithiau (a chan amlaf heb raid), fe'i dodir o flaen, neu ar ol terfyniad arall gwahanol ei ystyr; megys, nef*olaidd*, sanct*eiddiol*, iach*usol*, gwlad*garol*, arben*igol*, gosod*edigol*.

---

## TREIGLIAD AMGYLCHIAID.

**122.** I ddangos gradd yn unig y treiglir amgylchiaid.

**123.** Yr amgylchiaid a wnaed o gyfenwau, yn unig, a ellir eu cymmharu. Cymmherir y rhai hyny fel y cymmherir cyfenwau.

Diau fod yn gofus gan y darllenydd mai y ffordd gyffredin i droi cyfenw yn amgylchiad ydyw dodi *yn* o'i flaen, a meddalu ei lythyren flaen, os bydd hi yn newidadwy; megys,

| | | |
|---|---|---|
| yn gyflym | yn gyflymach | yn gyflymaf |
| yn dda | yn well | yn oreu |
| yn fawr | yn fwy | yn fwyaf |

Hebgorir yr *yn* yn gyffredin, o flaen yr uchafradd; megys,
Gruffydd a redodd [yn] gyflymaf.
Hyhi a ddaeth i mewn [yn] ddiweddaf.

**124.** Yr amgylchiaid rhifol. Ffurfir y rhai hyn trwy gyssylltu yr enw benywaidd *gwaith* â'r prif rifau; megys,

| | |
|---|---|
| Unwaith | Canwaith |
| Dengwaith | Cant ac wythwaith |
| Deg a nawgwaith | Milwaith |
| Seithddegwaith | Mil a chanwaith |

---

## TREIGLIAD RHAGENWAU.

**125.** Treiglir rhagenwau i ddangos person, rhyw, a rhif; megys y gwelir yn y geiriau *eiddof*, *eiddo*, *eiddi*, *eiddoch*, *yr hwn*, *yr hon*, *hwnw*, *hono*.

Ond â geiriau gwahanol, ac nid trwy dreigliad y dangosir y gwahaniaeth yn rhif a pherson y rhan fwyaf o'r rhagenwau; megys, *mi*, *ti*, *chwi*, *yr hwn*, *y rhai*.

## RHAGENWAU PERSONOL SYML.

**126.** O'r rhagenwau personol *syml*, yn unig, y rhoddwyd enghreifftiau yn y '*Cam*' o'r blaen. Yn awr, y mae pedair *ffurf* ar y rhagenwau yma, y rhai a alwaf yn BEDWAR CYFLWR* (*state*, ac nid *case*),—

| 1 | 2 | 3 | 4 |
|---|---|---|---|
| mi | fi, i | fy | 'm |
| ti | di | dy | 'th |
| ef | ef, e, o (fe, fo) | ei | 'i |
| hi | hi | ei | 'i |
| ni | ni | ein | 'n |
| chwi | chwi | eich | 'ch |
| hwy | hwy, hwynt | eu | 'u |

**127.** Dibyna ffurf neu gyflwr rhagenw personol ar ei sefyllfa mewn brawddeg. Ni fyddai yn wiw manylu ar y gwahanol ffurfiau yn y '*Cam*' hwn; ond rhydd y rheolau cyffredinol sydd yn canlyn syniad bras i'r darllenydd am y modd yr arferir hwynt.

**128.** Pan arferir rhagenw personol ar ei ben ei hun, neu ynte yn sylfon o flaen mynegair, fe'i dodir yn y CYFLWR CYNTAF; megys,

A *mi* ynoch chwi.
*Ti*, Pharisead dall.
*Mi* a sefais ar dywod y môr.
Wele, *ti* a heneiddiaist.

**129.** Pan ddelo rhagenw personol ar ol enw, neu ar ol mynegair, bydd yn yr AIL GYFLWR; megys,

Dy *bobl di* fydd fy mhobl *i*.
Ai er dy *fwyn di* y gadewir y ddaear?
*Cadw fi* rhag y gŵr traws.
Pa hyd y *galeri di* am Saul?
*Dygaf hwynt* drachefn i'w gwlad.

*Sylw.*—Nid arferir y ffurf 'hwynt' ar ol y mynegair oddi eithr pan y bydd yn wrthddrych iddo. *Ti*, ac nid *di*, a arferir ar ol mynegair ag y byddo'r llythyren *t* yn ei ddiwedd; megys, dysget *ti*, dysgaist *ti*, dysgaset *ti*.

* *Gweler "Cornish Grammar,"* gan E. NORRIS, tudalen 26.

**130.** Pan ddelo rhagenw personol o flaen mynegair yn y modd cyffredinol (sef gyda'r terfyniad sydd iddo mewn geiriadur), bydd yn y TRYDYDD CYFLWR; megys,

Dywedwch wrtho *fy mod* yn iach.
Os myni, ti a elli *fy nglanhau.*
Ni chewch *eu gweled* byth ond hyny.
Yr wyf yn *eich adnabod*, weithion.

Y ffurfiau yna a arferir o flaen enwau hefyd, oddi eithr yn yr amgylchiadau a nodir yn y rheol nesaf.

**131.** Pan y bydd rhagenw personol yn wrthddrych mynegair *neillduol* (sef, un heb fod yn y modd cyffredinol), ac yn sefyll rhwng y mynegair hwnw a geiryn âg iddo lafarog yn ei ddiwedd, fe'i dodir yn y PEDWERYDD CYFLWR. Yn y cyflwr hwn y bydd y rhagenw rhwng geiryn felly ac enw hefyd; megys,

Gyd *â'm* tad. Ti, *na'th* dad. Tu *a'm* cartref.
Mi *a'th* darewais â dyrnod gelyn.
Gwalchmai *y'm* gelwir, gelyn y Saeson.
Brawycher hwynt, ac *na'm* brawycher i.
Dychwelwch, fel *y'ch* iachäer.

**132.** Dyma'r geirynod, neu y mân eiriau fydd yn blaenori y rhagenwau sydd yn y pedwerydd cyflwr:—*a, â, i, o, y, fe, pe, ni, na, mo.* Gan eu bod yn cwtogi y rhagenwau, arferir tolnod (') yn lle y llafarogion a fwrir ymaith.

| | Unigol. | Lliosog. | | Unigol. | Lliosog. | | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | *a* | | | *y* | | | *ni* | |
| 1 | a'm | a'n | 1 | y'm | y'n | 1 | ni'm | ni'n |
| 2 | a'th | a'ch | 2 | y'th | y'ch | 2 | ni'th | ni'ch |
| 3 | a'i | a'u | 3 | y'i | y'u | 3 | ni'w *neu* ni's† | |
| | *i* | | | *fe* | | | *na* | |
| 1 | i'm | i'n | 1 | fe'm | fe'n | 1 | na'm | na'n |
| 2 | i'th | i'ch | 2 | fe'th | fe'ch | 2 | na'th | na'ch |
| 3 | i'w* | i'w* | 3 | fe'i | fe'u | 3 | na'i | na'u |
| | *o* | | | *pe* | | | *mo* | |
| 1 | o'm | o'n | 1 | pe'm | pe'n | 1 | mo'm | mo'n |
| 2 | o'th | o'ch | 2 | pe'th | pe'ch | 2 | mo'th | mo'ch |
| 3 | o'i | o'u | 3 | pe'i | pe'u | 3 | mo'i | mo'u |

* Byddai yn anhawdd seinio *i'i* ac *i'u;* am hyny, tröir y naill a'r llall yn *i'w*.

† Anfynych yn y dyddiau hyn yr arferir rhagenw yn y trydydd person rhwng *ni* a mynegair. Gan nad hawdd seinio y ffurfiau cyffredin *'i* ac *'u*, ar ol *ni*, arferai yr hynafiaid *w*, neu *s*, *(ys* neu *as)*; megys,

> Llwrw gwir nyw (ni'w) cenir fal y canaf.
> Tri pheth nyw moler am eu gwaith.
> Nys (ni's) clywssei hi=Ni chlywsai hi hyny.

133. Gelwir y ffurfiau sydd yn y trydydd a'r pedwerydd cyflwr yn 'rhagenwau meddiannol' yn gyffredin; ond nid ynt yn wirioneddôl yn ddim amgen na'r rhagenwau personol yn yr achos rhywogaethol neu fynegiadol *(casus generalis)*. Gwasanaethant yn gyffredin, naill ai fel cyfenwau, neu ynte fel rhagenwau gwrthddrychol. Cyfenwau ydynt pan safant *gydag* enwau, ond rhagenwau ydynt pan y safant *yn lle* enwau. Er mwyn bod yn hytrach yn eglur nag yn fanwl, fe'u cyfrifir hwynt yn y llyfr hwn yn gyfenwau pan fyddant o flaen enwau, ac yn rhagenwau pan fyddant o flaen mynegeiriau; megys,

CYFENWAU {
Mynegwch i'*m* tad *fy* holl anrhydedd.
Iach yw *dy* was, *ein* tad ni.
Dygasant *eu* praidd, a'*u* gwartheg.
Byddwch â'*ch* capiau am *eich* penau.

RHAGENWAU {
Yr hwn sydd yn *dy* goroni â thrugaredd.
Ni'*th* ollyngaf, oni '*m* bendithi.
Tröaf atoch fel y'*ch* coledder.
Hwy a'*i* dodasant mewn dalfa.

## RHAGENWAU PERSONOL CYFANSAWDD.

134. Y RHAGENWAU CYFERBYNIOL A CHYSSYLLTIOL. Pan fyddo angen am ddodi pwys arbenig ar y sylfon, fe ddyblir y rhagenwau personol o'r cyflwr cyntaf, fel hyn,—

> Myfi (mi, mi) sydd Dduw, ac nid neb arall.
> Chwychwi (chwi, chwi) ac nid nyni (ni, ni).

Pan fyddo angen am gyssylltu rhagenw âg enw, neu â rhagenw arall, yn yr ymadrodd o'r blaen, chwanegir *tau* (=hefyd) at y rhagenw cyntefig; megys, ni-*nau*, ti-*thau*.

| R. cyntefig. | R. cyferbyniol. | R. cyssylltiol. |
|---|---|---|
| mi | myfi | minnau |
| ti | tydi | tithau |
| ef | efe, *neu* efo | yntau |
| hi | hyhi | hithau |
| ni | nyni | ninnau |
| chwi | chwychwi | chwithau |
| hwy | hwynt-hwy | hwythau |

**135.** RHAGENWAU ADGYFEIRIOL *(Reflexive).* Fe'u gelwir felly am eu bod yn *cyfeirio yn ol* at y sylfon, gan arwyddo ei fod yn gweithredu arno ei hun.

| | |
|---|---|
| 1. Fy hun *neu* hunan. | 1. Ein hun *neu* hunain. |
| 2. Dy hun *neu* hunan. | 2. Eich hun *neu* hunain. |
| 3. Ei hun *neu* hunan. | 3. Eu hun *neu* hunain. |

Gellir hebgor y ffurfiau hyn, gan fynychaf, trwy ddodi *ym* yn mhen blaen y mynegair; megys, 'Ymlosgais,' yn lle 'Llosgais fy hun.' 'Ymlanhewch,' yn lle 'Glanhewch eich hunain.'

Arferir y ffurfiau hyn, yn fynych, fel rhagenwau neu gyfenwau *arbenigol* yn unig; megys,

Ysgrifenais ef â'm llaw *fy hun.*
Ein bara *ein hun* a fwytäwn.
Chwi a wyddoch *eich hunain* yn hysbys.

**136.** RHAGENWAU MYNEGIADOL. Fe'u gelwir felly am nas arferir hwynt fel sylfon, nac fel gwrthddrych; ond fel mynegiad, neu, yn hytrach, fel cyflawniad mynegair anghyflawn; megys, *Eiddynt yw* teyrnas nefoedd.'

| | |
|---|---|
| 1. Eiddof | 1. Eiddom |
| 2. Eiddot | 2. Eiddoch |
| 3. { Eiddo / Eiddi } | 3. Eiddynt |

## RHAGENWAU DOSBENOL.

**137.** Y mae chwe dosbarth o ragenwau dosbenol, neu ddangosol.

Cyfeiria y ddau ddosbarth blaenaf at yr hyn sydd *agos.*

Cyfeiria y trydydd a'r pedwerydd dosbarth at yr hyn sydd yn *lled agos.*

Cyfeiria y pummed dosbarth at yr hyn sydd *bell*—ond sydd, er hyny, yn y golwg.

Cyfeiria y chweched dosbarth at yr hyn sydd bell, ac *o'r golwg* hefyd.

Y mae *yma* ac *yna* yn gwneyd y rhagenw yn fwy dosbenol fyth.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 | Hwn<br>Hon | Y rhai hyn *neu* yma |
| | Hyn | Hyn |
| 2 | Hwn yma<br>Hon yma | Y rhai hyn yma |
| | Hyn yma | Hyn yma |
| 3 | Hwna<br>Hona | Y rhai yna *neu* hyna |
| | Hyna | Hyna |
| 4 | Hwn yna<br>Hon yna | Y rhai hyn yna |
| | Hyn yna | Hyn yna |
| 5 | Hwn acw<br>Hon acw | Y rhai acw *neu* hyn acw |
| | Hyn acw | Hyn acw |
| 6 | Hwnw<br>Hono | Y rhai hyny |
| | Hyny | Hyny |

138. RHAGENWAU PERTHYNOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| Yr hwn<br>Yr hon | Y rhai |
| Yr hyn | Yr hyn |

---

## TREIGLIAD RHAGDDODIAID.

139. Treiglir RHAGDDODIAID PERSONOL, i ddangos *person* a rhif, ac i ddangos rhyw hefyd, mewn rhan.

**140.** Gelwir rhai o'r rhagddodiaid yn *bersonol*, am ddarfod eu cyfuno â rhagenwau personol; megys, *ataf* (at fi), *genych* (gan chwi).

**141.** Dyma'r rhagddodiaid a gymmerant eu huno â rhagenwau personol:—*ar*, *at*, *er*, *gan*, *han* (neu*hon*), *heb*, *hyd*, *i*, *rhag*, *rhwng*, *tan*, *tros*, *trwy*, *wrth*, *yn*.

**142.** Dyma'r ffurfiau a gymmer y rhagenwau yn nherfyn y rhagddodiaid yna,—

| | Unigol.. | | Lliosog. |
|---|---|---|---|
| 1. | af, of, yf | 1. | om, ym |
| 2. | at, ot, yt | 2. | och, ych |
| 3. | o, *gwrywaidd*<br>i, *benywaidd* | 3. | ynt |

**143.** Gan fod y dull y treiglir y rhagddodiaid hyn yn fwy hysain nag unffurf, fe'u rhoddir yma yn llawn,

*Ar*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | arnaf | arnom |
| 2. | arnat | arnoch |
| 3. | arno<br>arni | arnynt |

*At*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | ataf | atom |
| 2. | atat | atoch |
| 3. | ato<br>ati | atynt |

*Er*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | erof | erom |
| 2. | erot | eroch |
| 3. | erddo<br>erddi | erddynt |

*Gan*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | genyf | genym |
| 2. | genyt | genych |
| 3. | ganddo<br>ganddi | ganddynt |

*Rhag*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | rhagof | rhagom |
| 2. | rhagot | rhagoch |
| 3. | rhagddo<br>rhagddi | rhagddynt |

*Rhwng*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | rhyngof | rhyngom |
| 2. | rhyngot | rhyngoch |
| 3. | rhyngddo<br>rhyngddi | rhyng-ddynt |

*Tan*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | tanaf | tanom |
| 2. | tanat | tanoch |
| 3. | tano<br>tani | tanynt |

*Tros*

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1. | trosof | trosom |
| 2. | trosot | trosoch |
| 3. | trosto<br>trosti | trostynt |

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| | *Han (neu hon)* | |
| 1. | (o) honof | honom |
| 2. | (o) honot | honoch |
| 3. | (o) hono / (o) honi | honynt |
| | *Heb* | |
| 1. | hebof | hebom |
| 2. | hebot | heboch |
| 3. | hebddo / hebddi | hebddynt |
| | *Hyd* | |
| 1. | hydof | hydom |
| 2. | hydot | hydoch |
| 3. | hyd-ddo / hyd-ddi | hyd-ddynt |

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| | *Trwy* | |
| 1. | trwof | trwom |
| 2. | trwot | trwoch |
| 3. | trwyddo / trwyddi | trwyddynt |
| | *Wrth* | |
| 1. | wrthyf | wrthym |
| 2. | wrthyt | wrthych |
| 3. | wrtho / wrthi | wrthynt |
| | *Yn* | |
| 1. | ynof | ynom |
| 2. | ynot | ynoch |
| 3. | ynddo / ynddi | ynddynt |

Anfynych y cyssylltir *i* â rhagenwau yn y person blaenaf, a'r ail berson; a pheth newydd ydyw cyssylltu *gyd* (neu *gydag*) âg unrhyw ragenw personol.

| | *Gyd* | | | *I* | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | gydof | gydom | 1. | im | in |
| 2. | gydot | gydoch | 2. | it | ich *neu* iwch |
| 3. | gyd-ddo / gyd-ddi | gyd-ddynt | 3. | iddo / iddi | iddynt |

Er mwyn hyseinedd, yn unig, y dodir *n* yn 'arnaf;' *dd* yn 'erddo;' *t* yn 'trosto;' y tynir ymaith *y* o trw*y*of, ac y tröir 'fi' yn *af*, *of*, *yf*.

---

## TREIGLIAD MYNEGEIRIAU.

**144.** Treiglir MYNEGEIRIAU PERSONOL, i ddangos modd, amser, person, a rhif. Mynegeiriau âg iddynt derfyniadau personol i gynrychioli y sylfon a feddylir wrth Fynegeiriau Personol; megys, car-*af*, safas-*och*.

**145.** MYNEGEIRIAU ANMHERSONOL y gelwir y rhai nad yw y sylfon yn eu terfyn; megys, *cerir*, *rhedasid*. I ddangos modd ac amser yn unig y treiglir y rhai yna.

Cyfrifir mynegeiriau o fath *car, carodd, saif, safodd, bu*, yn rhai personol, er nad oes yn eu terfyn un rhagenw i gynnrychioli y sylfon. Mynych, gan hyny, y rhaid i'r neb a fyno fynegi ei feddwl yn eglur arfer enw neu ragenw, naill ai ar ol, neu ynte o flaen mynegair felly; megys, *car Dafydd; safodd hi;* neu, *hi a safodd.*

MODD.

**146.** Dywedwyd, o'r blaen, mai mynegu rhywbeth am y sylfon ydyw gwaith mynegair. Yn awr, pan fyneger rhywbeth mewn modd cyffredinol; megys, *caru, sefyll, edrych*, fe ddywedir fod y mynegair yn y MODD CYFFREDINOL.

**147.** Pan fyneger rhywbeth yn ddiammodol ac yn ddiŵyr *(direct)*—megys, *caraf, sefaist, edrychwyd*—fe ddywedir fod y mynegair yn y MODD PENDANT.

Yn y modd hwn y mae y mynegeiriau a arferir mewn holion hefyd; megys, 'Pwy a'ch gwnaeth?' Y mae furf holiad, a ffurf mynegiad pendant, yn gyffelyb mewn rhai ieithoedd.

**148.** Pan fyneger peth yn ammodol, ac yn ŵyr *(indirect)*, neu fel bwriad, neu ddymuniad, neu ganlyniad, bydd y mynegair yn y MODD ANMHENDANT.

Ceir y modd hwn, yn gyffredin, ar ol y geiriau *fel, pan, hyd oni, y neb,—bynag*, ac weithiau ar ol *na*.

D. S.—Arferir amser gorphenol arferol ac amser tragorphenol y modd pendant yn y modd anmhendant hefyd, weithiau (Gweler 182).

**149.** Pan fyneger peth ar wedd gorchymyn, annogaeth, neu erfyniad, fe ddywedir fod y mynegair yn y MODD GORCHYMYNOL.

**150.** Y mae yn y Gymraeg, gan hyny, bedwar modd; sef, y Modd Cyffredinol, y Modd Gorchymynol, y Modd Pendant, a'r Modd Anmhendant.

AMSER.

**151.** Nid oes amser i fynegair yn y modd cyffredinol, pan fyddo ar ei ben ei hun. Pan y byddo mewn brawddeg, bydd yn yr un amser a mynegair arall o fodd *arall.*

Amser dyfodol, os yr un, sydd i fynegair yn y modd gorchymynol.

Y mae mynegeiriau y modd anmhendant, weithiau yn yr amser presennol, ac weithiau yn yr amser dyfodol a thradyfodol. Y mae eu hamser, yn fynych, yn anmhennodol; ond y mae yn ddiogel dyweyd mai yn yr amser dyfodol y maent fynychaf.

Pedwar o amserau syml sydd i fynegair yn y modd pendant.

Eithr y mae chwaneg i rai, fel y gwelir islaw:—

152. *Yr amser presennol.*—Megys nad oes yn y Saesneg un ffurf dreigledig i nodi'r amser dyfodol, felly nid oes yn y Gymraeg chwaith ond tri mynegair a chanddynt ffurf briodol i'r amser presennol; sef, *bod*, *gwybod*, ac *adwaen*. Os myn Cymro, gan hyny, nodi'r amser presennol yn fanwl, rhaid iddo arfer ymadroddion amgylchog o'r fath yma, 'Yr wyf yn gweled,' 'Yr ys yn gweled,' 'Gwelaf yn awr,' neu ynte, 'Gwelaf weithion,' 'Gwelir yn awr.' Pan na byddo angen am nodi yr amser yn fanwl, gellir benthyca'r ffurf dyfodol:—'gwelaf,' 'gwelir,' &c.

153. *Yr amserau eraill.*—Nis rhaid manylu ar bob un o'r amserau, am fod yr enwau sydd arnynt, mi a dybygaf, yn eu hesbonio eu hunain. *Progressive* ydyw y gair Saesneg am *parhaol.* Defodol *(habitual)* a feddylir wrth *arferol.* Er enghraifft, y mae 'byddaf,' a, 'byddaf yn ymdrochi,' yn arwyddo 'yr wyf yn arfer bod,' 'yr wyf yn arfer ymdrochi.' Yr un ffunud hefyd, nid cyflwr yn unig, ond arferiad—nid gweithred neillduol, ond cyfres o weithredoedd, a olyga mynegair, pan y bydd yn yr amser gorphenol arferol. Y mae dyweyd 'ymdrochwn [i]' a 'byddwn [i] yn ymdrochi' yr un peth a dyweyd, 'Yr oeddwn yn arfer ymdrochi;' neu, 'Yr oeddwn yn ymdrochi yn gyffredin;' neu ynte, 'Yr oeddwn yn ymdrochi yn fynych.'

### PERSON A RHIF.

154. Y mae i fynegair, fel i ragenw, DRI PHERSON; *sef, blaenaf, ail,* a *thrydydd;* a DAU RIF; sef, *unigol* a *lliosog.*

A siarad yn fanwl, nid oes i'r ffurf a elwir yn 'drydydd person unigol' na rhif na pherson; ac oblegid hyny, gall y sylfon, a arferer gydâg ef, fod mewn unrhyw rif ac mewn unrhyw berson; megys,

| | |
|---|---|
| Câr { dyn / dynion | Dyn / Dynion } a gâr |
| Myfi a gâr | Nyni a gâr |
| Tydi a gâr | Chwychwi a gâr |
| Efe a gâr | Hwynthwy a gâr |

Cynnwysir pob rhagenw personol, oddi eithr y trydydd unigol, yn nherfyn mynegair personol; megys,

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1. Wyf (yw fi) | 1. *Ym (yw ni) |
| 2. Wyt (yw ti) | 2. Ych (yw chwi) |
| 3. Yw, mae, oes sydd | 3. Ynt (yw hwynt) |
| 1. Gyrais (gyras i) | 1. Gyrasom (gyras ni) |
| 2. Gyraist (gyras ti) | 2. Gyrasoch (gyras chwi) |
| 3. Gyras | 3. Gyrasont (gyras hwynt) |

Y mae *gyras*, neu *gyres*, yn ffurf hŷn na *gyrodd*, megys y dengys y ffurf ganlynol a gymmerwyd o waith Zeuss :—

| | |
|---|---|
| 1. cereis | 1. carasam |
| 2. cereist | 2. carasauch |
| 3. caras | 3. carasant |

---

155. FFURFIAD Y MODDAU.

§ Ffurfir y modd cyffredinol, gan fynychaf, trwy chwanegu sill at wreiddyn y mynegair, a newid llythyren lafar, os bydd yn un newidadwy; megys, *rhedeg*, o *rhêd ; sefyll*, o *sâf ; tewi*, o *taw*.

§ Nid yw gwreiddyn llawer mynegair amgen nag enw, neu gyfenw; megys, *cred* (enw) *credu: gwŷn* (cyfenw) *gwynu*.

§ Yn yr ail berson unigol o'r modd gorchymynol y canfyddir gwreiddyn y mynegair yn amlycaf.

* Y mae hi yn bryd, bellach i fwrw ymaith yr *m* o'r terfyniad lliosog, ac i arfer *n* yn ei lle ; o herwydd *n* a geir ar lafar gwlad. Heblaw hyny, y mae geirfonedd a chynghanedd o blaid yr *n*.

§ Weithiau y mae y modd cyffredinol yn gydffurf â'r gwreiddyn; megys, *ateb*, *gofyn*, *sôn*. Pan y byddo felly, fe ffurfir y moddau eraill trwy chwanegu ato yr amrywiol derfyniadau, ag sydd yn nodi person, rhif, ac amser.

§ Ond y mae i'r rhan fwyaf o'r mynegeiriau sydd yn y modd cyffredinol derfyniadau o'u heiddynt eu hunain. Dyma'r rhai mwyaf cyffredin o honynt:—*a*, *i*, *o*, *u*, *w*, *âu* neu *hau*, *ied*, *ael*, *yd*.

§ Ffurfir y moddau eraill o'r modd cyffredinol. Ond dïosgir y mynegair o'r terfyniadau cyffredinol *a*, *i*, *o*, *u*, *ed*, *ael*, *yd*, *aeth*, *ain*, *eg*, *ur*, *yll*, cyn chwanegu ato y terfyniadau priodol i'r moddau eraill; megys,

Caru, caraf—nid caruaf.

Llefain, llefais—nid llefeiniais.

Cymmeryd, cymmerais—nid cymmerydais.

§ Ni thynir ymaith y terfyniadau *w*, *eu*, *aw*, *fan*, *ial*, *ych*; ond chwanegir terfyniadau y moddau eraill atynt; megys,

Galw, galwaf—nid galaf.

Maddeu, maddeuais—nid maddais.

Cwynfan, cwynfanasoch—nid cwynasoch.

Grymial, grymialodd—nid grymiodd.

Chwennych, chwennychais—nid chwennais.

§ Gwneir rhai cyfnewidiadau er mwyn cynghanedd yn unig. Weithiau, newidir llythyren yn ngwreiddyn y mynegair pan y treigler ef; megys, *cerais*, yn lle *carais*; *arweiniaf*, yn lle *arwainiais*. Weithiau, dodir llythyren i mewn rhwng y gwreiddyn a'r terfyniad; megys, *erlidiais*, yn lle *erlidais*. Weithiau, tynir un allan o'r terfyniad; megys, *clywsom*, yn lle *clywasom*; *ffödd* yn lle *ffoodd*.

Gwell, bellach, na lliosogi rheolau a namion, ac egluriadau, ydyw rhoi yma restr o eiriau enghreifftiol.

Dyma'r manau y mae y mynegair yn amrywio *mwyaf ynddynt* yn ei gorph a'i gynffon:—

| MODD CYFFREDINOL | MODD PENDANT ... { Amser gorphenol, 2 a 3 person unigol. Amser dyfodol, 1 person unigol. | |
|---|---|---|
| addaw | addewais † | eddy |
| aros | arosais | erys |
| ateb | atebais | etyb |
| attal | atteliais | ettyl |
| berwi | berwais | beirw |
| bwyta | bwyteais | bwyty |
| cadw | cedwais | ceidw |
| caniatau | caniateais | caniatâ |
| cloi | cloais | cly, ‡ G. clo |
| colli | collais | cyll |
| cyfodi | cyfodais | cyfyd |
| cyffroi | cyffroais | cyffry |
| cymmeryd | cymmerais | cymmer |
| cysgu | cysgais | cwsg |
| chwerthin | chwerddais | chwardd |
| dal | deliais | deil |
| darllen | darllenais | derllyn |
| deffroi | deffroais | deffry—G. deffro |
| dïengyd, *neu* dïanc | diengais | dïeinc, *neu* dïanc |
| diffoddi | diffoddais | diffydd |
| dileu | dileais | dilea |
| dodi | dodais | dyd—G. dod |
| dygyd, *neu* dwyn | dygais | dyg—G. dwg |
| ffoi | ffoais | ffy—G. ffo |
| gadaw, *neu* gadael | gadewais | gedy—G. gâd |
| galw | gelwais | geilw |
| gallu | gellais | geill, *neu* gall |
| golchi | golchais | gylch—G. golch |
| gosod | gosodais | gesyd |
| gwared | gwaredais | gweryd |
| gwrandaw | gwrandewais | gwrendy |
| gwrthod | gwrthodais | gwrthyd |
| llenwi | llenwais | lleinw—G. llanw |
| llosgi | llosgais | llysg—G. llosg |

† Ffurfir yr ail berson wrth ddodi *t* at y person blaenaf.
‡ Arwydda G yr ail berson unigol yn y modd gorchymynol.

| | | |
|---|---|---|
| marchogaeth | marchogais | merchyg—G. marchog |
| parhau | parheais | pery—G. parhâ |
| peri | perais | pair—G. pâr |
| rhoddi | rhoddais | rhydd |
| rhoi | rhoais | rhy, *neu* dyry |
| sefyll | sefais | saif—G. saf |
| taflu | teflais | teifl—G. tafl |
| taraw | tarewais | tery |
| tewi | tewais | taw |
| tori | torais | tyr—G. tòr |
| trengu | trengais | treinc, *neu* trenga |
| troi | troais | try—G. tro |
| ymaflyd | ymeflais | ymeifl |

Treiglir y mynegeiriau mwyaf afreolaidd yn llawn yn mhellach yn mlaen.

**156.** Treigliad y mynegair *Bod.*

MODD CYFFREDINOL, *BOD.*

Ffurf personol. — Ffurf ammhersonol.

MODD GORCHYMYNOL.

| Ffurf personol | | Ffurf ammhersonol |
|---|---|---|
| 1. | 1. byddwn | |
| 2. bydd | 2. byddwch | bydder |
| 3. bydded | 3. byddant | |

MODD PENDANT.

*Amser Presennol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. wyf | 1. ym | |
| 2. wyt | 2. ych | ys |
| 3. y mae, sydd, yw, oes | 3. y maent, ynt | |

*Amser Presennol Arbwysig.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. ydwyf | 1. ydym | |
| 2. ydwyt | 2. ydych | ydys |
| 3. y mae, sydd, *ydyw, ydoes* | 3. y maent, ydynt | |

*Amser Gorphenol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | bum | 1. | buom | |
| 2. | buost | 2. | buoch | buwyd |
| 3. | bu | 3. | buont | |

*Amser Gorphenol Parhaol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | oeddwn | 1. | oeddem | |
| 2. | oeddet (-it) | 2. | oeddech | oeddid |
| 3. | oedd | 3. | oeddent | |

*Amser Gorphenol Arferol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | byddwn | 1. | byddem | |
| 2. | byddet (-it) | 2. | byddech | byddid |
| 3. | byddai | 3. | byddent | |

*Amser Tragorphenol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | buaswn | 1. | buasem | |
| 2. | buaset (-it) | 2. | buasech | buasid |
| 3. | buasai | 3. | buasent | |

*Amser Dyfodol, ac Amser Presennol Arferol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | byddaf | 1. | byddwn | |
| 2. | byddi | 2. | byddwch | byddir (Dyf.) |
| 3. | bydd | 3. | byddant | byddys (Pres. Arf) |

MODD ANMHENDANT.

*Amser Presennol, Dyfodol, a Thradyfodol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 1. | byddof (-wyf) | 1. | byddom | |
| 2. | byddot | 2. | byddoch | bydder |
| 3. | byddo | 3. | byddont | |

157. Y mae i'r mynegair hwn, yn nechreu is-aelod brawddeg, ffurf arall, yr hwn a eilw rhai yn *Ffurf Cyssylltiol;* am fod mynegair âg iddo'r ffurf hwnw yn gwneyd gwaith cyssylltiad hefyd. Dibyna amser mynegair felly gryn lawer ar y mynegair a fyddo yn mhrif aelod y frawddeg; ac oblegid hyny ni roddir yma ond y gwahanol ffurfiau yn unig.

1

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. | fy mod | 1. | ein bod |
| 2. | dy fod | 2. | eich bod |
| 3. | ei fod<br>*ei bod* | 3. | eu bod |

2

| | |
|---|---|
| 1. fod o honof | 1. fod o honom |
| 2. fod o honot | 2. fod o honoch |
| 3. fod o hono, honi | 3. fod o honynt |

3

| | |
|---|---|
| 1. (ddarfod) im fod | 1. (ddarfod) in fod |
| 2. (ddarfod) it fod | 2. (ddarfod) iwch fod |
| 3. (ddarfod) iddo, iddi fod | 3. (ddarfod) iddynt fod |

**158.** Yn debyg fel y treiglir *bod*, y treiglir *nabod*, *adnabod*, *cydnabod*, *canfod*, *cyfarfod*, *darfod*, *gorfod.*

Eithr i *nabod*, neu *adnabod*, neu *adwaen*, a *gwybod*, yn unig, y mae amser presennol; ac y maent hwy yn gwyro yn eu treigliad oddiwrth *bod* yn yr amser hwnw, ac yn yr amser gorphenol arferol hefyd; megys y gwelir islaw:—

NABOD, neu ADNABOD, neu ADWAEN.

*Amser Presennol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. adwaen | 1. adwaenom | |
| 2. adwaenost | 2. adwaenoch | adweinir |
| 3. edwyn | 3. adwaenont (-ant) | |

*Amser Gorphenol Arferol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. adwaenwn | 1. adwaenem | |
| 2. adwaenet | 2. adwaenech | adweinid |
| 3. adwaenai | 3. adwaenent | |

Eithr arferir y ffurfiau *adnabyddwn*, *-byddet*, &c., hefyd.

GWYBOD.

*Amser Presennol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwn | 1. gwyddom | |
| 2. gwyddost | 2. gwyddoch | gwyddys, |
| 3. gŵyr | 3. gwyddont (-ant) | gwyddir |

*Amser Gorphenol Arferol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwyddwn | 1. gwyddem | |
| 2. gwyddet | 2. gwyddech | gwyddid |
| 3. gwyddai | 3. gwyddent | |

Eithr arferir y ffurfiau *gwybyddwn*, *-byddet* hefyd.

*Camdreiglir* pob un o'r geiriau uchod (158) yn fynych iawn, *yn yr amser* gorphenol, a'r amser tragorphenol. 'Can-

fyddais' a ddywed rhai esgeulus, yn lle *canfûm;* 'cyfarfyddodd,' yn lle *cyfarfu;* 'darganfyddasom,' yn lle *darganfuom*, neu *darganfuasom*, &c. Nid gwrthunach a fyddai y ffurfiau *byddais, byddodd, byddasom.*

**159.** Treigliad y mynegair rheolaidd *Gyru.*

MODD CYFFREDINOL, *GYRU.*

| Ffurf personol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| | MODD GORCHYMYNOL. | |
| 1. | 1. gyr*wn* | |
| 2. gyr * | 2. gyr*wch* | gyr*er* |
| 3. gyr*ed* | 3. gyr*ant* | |
| | MODD PENDANT. | |
| | *Amser Gorphenol.* | |
| 1. gyr*ais* | 1. gyr*asom* | |
| 2. gyr*aist* | 2. gyr*asoch* | gyr*wyd* |
| 3. gyr*odd* | 3. gyr*asont (-ant)* | |
| | *Amser Gorphenol Arferol.* | |
| 1. gyr*wn* | 1. gyr*em* | |
| 2. gyr*et (-it)* | 2. gyr*ech* | gyr*id* |
| 3. gyr*ai* | 3. gyr*ent* | |
| | *Amser Tragorphenol.* | |
| 1. gyr*aswn* | 1. gyr*asem* | |
| 2. gyr*aset (-it)* | 2. gyr*asech* | gyr*asid* |
| 3. gyr*asai* | 3. gyr*asent* | |
| | *Amser Dyfodol.* | |
| 1. gyr*af* | 1. gyr*wn* | |
| 2. gyr*i* | 2. gyr*wch* | gyr*ir* |
| 3. gyr * | 3. gyr*ant* | |
| | MODD ANMHENDANT. | |
| | *Amser Presennol, Dyfodol, a Thradyfodol.* | |
| 1. gyr*of (-wyf)* | 1. gyr*om* | |
| 2. gyr*ot (-ych)* | 2. gyr*och* | gyr*er* |
| 3. gyr*o* | 3. gyr*ont* | |

* Y mae yn rhaid i ambell fynegair wrth y terfyniad *a* yn y ddau fan a nodwyd; megys, *galara, ysgrifena.* Ond chwanegir yr *a*, fynychaf heb raid;—câna, cymmera, ateba; yn lle *cân, cymmer, ateb* (gor.), *etyb* (dyf.).

**160.** Arferir mynegair ammhersonol gyda'i wrthddrych, mewn pedair ffordd,—

1. Pan fyddo'r gwrthddrych, sef y rhagenw, yn ddïarbwysig.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. | Fe'm gyrir | 1. | Fe'n gyrir |
| 2. | Fe'th yrir | 2. | Fe'ch gyrir |
| 3. | Fe'i gyrir | 3. | Fe'u gyrir |

2. Pan fyddo'r gwrthddrych yn arbwysig,—*emphatic.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. | Fe'm gyrir i | 1. | Fe'n gyrir ni |
| 2. | Fe'th yrir di | 2. | Fe'ch gyrir chwi |
| 3. | Fe'i gyrir ef, *neu* hi | 3. | Fe'u gyrir hwynt |

3. Pan fyddo'r gwrthddrych yn enw.

| | |
|---|---|
| Gyrir march | Gyrir meirch |
| Fe yrir march | Fe yrir meirch |

4. Pan fyddo'r gwrthddrych yn gyferbyniol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. | Myfi a yrir | 1. | Nyni a yrir |
| 2. | Tydi a yrir | 2. | Chwychwi a yrir |
| 3. | Efe, *neu* hyhi, a yrir | 3. | Hwynt-hwy a yrir |
| | March a yrir | | Meirch a yrir |

### TREIGLIAD MYNEGAIR CYFANSAWDD.

**161.** Y mynegair cynnorthwyol *bod*, ac nid y prif fynegair a dreiglir, yn yr amserau cyfansawdd. Afreidiol, gan hyny, ydyw rhoi yr amserau hyn yn llawn.

MODD PENDANT.

| | Ffurf personol. | Furf ammhersonol. |
|---|---|---|
| | *Amser Presennol.* | |
| *Pennodol.* | —† Wyf, &c. | † Ys ... yn gyru |
| *Arferol.* | —Byddaf, &c. | Byddys ... yn gyru |
| | *Amser Gorphenol.* | |
| *Pennodol.* | —Wyf, &c. | Ys ... wedi gyru |
| *Parhaol.* | Oeddwn &c. | Oeddid ... yn gyru |
| | Bûm, &c. | Buwyd ... yn gyru |
| *Arferol.* | —Byddwn, &c. | Byddid ... yn gyru |

† *Y ffurf hwn a arferir i ddynodi yr amser presennol* *parhaol* hefyd.

*Amser Tragorphenol.*

| | | |
|---|---|---|
| *Pennodol.* | —Oeddwn, &c. | Oeddid ... wedi gyru |
| *Parhaol.* | —Buaswn, &c. | Buasid ... yn gyru |
| *Arferol.* | —Byddwn, &c. | Byddid ... wedi gyru |

*Amser Dyfodol.*

| | | |
|---|---|---|
| *Parhaol.* | —Byddaf, &c. | Byddir ... yn gyru |
| *Perffaith.* | —Byddaf, &c. | Byddir .. wedi gyru |

MODD AMMHENDANT.—Byddo i mi, &c., ... yru.

MODD GORCHYMYNOL.—Bydded i ti, &c., ... yru.

Y mae dwy neu dair o ffurfiau eraill; megys, 'Wyf wedi bod yn gyru,' 'Oeddwn wedi bod yn gyru;' ond ni bydd gwŷr chwaethus odid byth yn eu harfer. Yn wir, anfynych y rhaid arfer un o'r amserau cyfansawdd ond y presennol a'r gorphenol pennodol. Mewn brawddegau cymalog, yn unig, y mae yn anhawdd eu hebgor.

**162.** Fel hyn y treiglir mynegair ammhersonol *cyfansawdd* gyda rhagenwau gwrthddrychol,—

| MODD MYNEGOL. | AMSER PRESENNOL. |
|---|---|
| 1. Ys yn fy nysgu | 1. Ys yn ein dysgu |
| 2. Ys yn dy ddysgu | 2. Ys yn eich dysgu |
| 3. { Ys yn ei ddysgu<br>Ys yn ei dysgu (hi) | 3. Ys yn eu dysgu |

**163.** Gellir gwrthdroi mynegeiriau cyfansawdd, fel hyn:—

| | |
|---|---|
| 1. Gyru yr wyf | 1. Gyru yr ym |
| 2. Gyru yr wyt | 2. Gyru yr ych |
| 3. Gyru y mae | 3. Gyru y maent |

**164.** Pan yr arferir *gwneuthur* fel mynegair cynnorthwyol, bydd, yn mron yn ddinam, ar ol y prif fynegair; megys,

| | |
|---|---|
| 1. Gyru a wnâf | 1. Gyru a wnawn |
| 2. Gyru a wnei | 2. Gyru a wnewch |
| 3. Gyru a wna | 3. Gyru a wnant |

Gosod arbenigrwydd ar yr *amser* y mae 'wyf,' ac 'wyf wedi.' Gosod arbenigrwydd ar y *weithred* a grybwyllir yn y prif fynegair y mae 'gwnaf,' &c.

## MYNEGEIRIAU AFREOLAIDD.

**165.** Y mynegeiriau hyny ag sydd yn gŵyro fwyaf oddi wrth y cynllun a roddwyd yn adran 159 a elwir yn afreolaidd. Dangoswyd pa fodd y treiglir y mynegeiriau afreolaidd *bod*, *gwybod*, *nabod;* felly nid oes yn aros ond y rhai hyn :—*myned*, *dyfod*, *gwneyd*, a *chael.* Cofier fod y ffurfiau yna oll yn y modd cyffredinol, fel na byddo achos i'w nodi ef mwyach.

**166.** MYNED=AU.

| Ffurf personol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| | **MODD GORCHYMYNOL.** | |
| 1. | 1. awn | |
| 2. *dos, cerdd* | 2. ewch | aer |
| 3. aed | 3. ant | |
| | **MODD PENDANT.** | |
| | *Amser Gorphenol.* | |
| 1. aethym | 1. aethom | |
| 2. aethost | 2. aethoch | aethpwyd |
| 3. aethai | 3. aethont | *neu* aed |
| | *Amser Gorphenol arferol.* | |
| 1. awn | 1. aem | |
| 2. aet | 2. aech | eid |
| 3. ai | 3. aent | |
| | *Amser Tragorphenol.* | |
| 1. aethwn | 1. aethem | |
| 2. aethet | 2. aethech | aethid |
| 3. aethai | 3. aethent | |
| | *Amser Dyfodol.* | |
| 1. af | 1. awn | |
| 2. ei | 2. ewch | eir |
| 3. a (ä), eiff | 3. ant | |

**MODD AMMHENDANT.**

*Amser Presennol a Dyfodol.*

1. aof
2. aot
3. ao

} Nid ydyw hon yn ffurf gynnefin.

## 167. Myned=Elu.

| Ffurf bersonol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| **Modd Gorchymynol.** | | |
| 1. | 1. elwn | |
| 2. *dos, cerdd* | 2. elwch | eler |
| 3. eled | 3. elant | |

Treiglir *elu* yn rheolaidd yn y moddau eraill.

## 168. Dyfod=Dawed.

### Modd Gorchymynol.

| | | |
|---|---|---|
| 1. | 1. deuwn | |
| 2. *tyred* | 2. deuwch | deuer |
| 3. deued | 3. deuant | |

### Modd Pendant.

*Amser Gorphenol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. daethum (-ym) | 1. daethom | |
| 2. daethost | 2. daethoch | daethpwyd |
| 3. daeth | 3. daethont | (*neu* deuwyd) |

*Amser Gorphenol Arferol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. deuwn | 1. deuem | |
| 2. deuet | 2. deuech | deuid |
| 3. deuai | 3. deuent | |

*Amser Tragorphenol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. daethwn | 1. daethem | |
| 2. daethet | 2. daethech | daethid |
| 3. daethai | 3. daethent | |

*Amser Dyfodol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. deuaf (dôf) | 1. deuwn (down) | |
| 2. deui (doi) | 2. deuwch (dowch) | deuir |
| 3. daw | 3. deuant (dônt) | |

### Modd Ammhendant.

*Amser Presennol a Dyfodol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. deuof | 1. deuom | |
| 2. deuot | 2. deuoch | deuer |
| 3. deuo | 3. deuont | |

### 169. Dyfod=Delyd.

MODD GORCHYMYNOL.

| Ffurf bersonol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| 1. | 1. delwn | |
| 2. *tyred* | 2. delwch | deler |
| 3. deled | 3. delant | |

Treiglir *delyd* yn lled reolaidd yn y moddau eraill.

### 170. Gwneyd=Gwnaethyd.

MODD GORCHYMYNOL.

| | | |
|---|---|---|
| 1. | 1. gwnawn | |
| 2. gwna | 2. gwnewch | gwnaer |
| 3. gwnaed | 3. gwnant | |

MODD PENDANT.

*Amser Gorphenol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwnaethum | 1. gwnaethom | |
| 2. gwnaethost | 2. gwnaethoch | gwnaethpwyd |
| 3. gwnaeth | 3. gwnaethont | (*neu* gwnaed) |

*Amser Gorphenol Arferol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwnawn | 1. gwnaem | |
| 2. gwnaet | 2. gwnaech | gwneid |
| 3. gwnai | 3. gwnaent | |

*Amser Tragorphenol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwnaethwn | 1. gwnaethem | |
| 2. gwnaethet | 2. gwnaethech | gwnaethid |
| 3. gwnaethai | 3. gwnaethent | |

*Amser Dyfodol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. gwnaf | 1. gwnawn | |
| 2. gwnei | 2. gwnewch | gwneir |
| 3. gwna | 3. gwnant | |

Nid oes i'r modd ammhendant ffurf gynnefin.

### 171. Gwneyd=Gwnelyd.

MODD GORCHYMYNOL.

| | | |
|---|---|---|
| 1. | 1. gwnelwn | |
| 2. *gwna* | 2. gwnelwch | gwneler |
| 3. gwneled | 3. gwnelant | |

*Treiglir gwnelyd* yn rheolaidd yn y moddau eraill.

### 172. Cael, neu Caffael.

| Ffurf bersonol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| | MODD GORCHYMYNOL. | |
| 3. caed *neu* caffed | 3. cant *neu* caffant | caffer, caer |
| | MODD PENDANT. | |
| | *Amser Gorphenol.* | |
| 1. cefais | 1. cawsom | |
| 2. cefaist | 2. cawsoch | cafwyd (caed) |
| 3. cafodd | 3. cawsont | |
| | *Amser Gorphenol Arferol.* | |
| 1. cawn | 1. caem | |
| 2. caet | 2. caech | ceid |
| 3. cai | 3. caent | |
| | *Amser Tragorphenol.* | |
| 1. cawswn | 1. cawsem | |
| 2. cawset | 2. cawsech | cawsid |
| 3. cawsai | 3. cawsent | |
| | *Amser Dyfodol.* | |
| 1. caf | 1. cawn | |
| 2. cei | 2. cewch | ceir *neu* ceffir |
| 3. ca, ceiff | 3. cânt | |
| | MODD AMMHENDANT. | |
| 1. caffof | 1. caffom | |
| 2. caffot | 2. caffoch | caffer, caer |
| 3. caffo | 3. caffont | |

## MYNEGEIRIAU DIFFYGIOL.

**173.** Gelwir mynegeiriau nad arferir mohonynt yn mhob modd, ac yn mhob amser, yn 'Ddiffygiol.'

### 174. Dylwn, &c. (o Dylu).

Dau amser sydd i'r mynegair hwn. Arferir y ffurf orphenol arferol yn yr amser presennol, a'r ffurf dragorphenol yn yr amser gorphenol.

*Amser Presennol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. dylwn | 1. dylem | |
| 2. dylet | 2. dylech | dylid |
| 3. dylai | 3. dylent | |

| Ffurf bersonol. | | Ffurf ammhersonol. |
|---|---|---|
| | *Amser Gorphenol.* | |
| 1. dylaswn | 1. dylasem | |
| 2. dylaset | 2. dylasech | dylasid (-esid) |
| 3. dylasai | 3. dylasent | |

**175.** **Eb, neu Ebe.**

Mynegair ammhersonol a digyfnewid yw *eb*, âg iddo ystyr presennol a gorphenol.

Erfyr rhai *eb* o flaen llafarog, ac *ebe* o flaen gosain; megys,

| | |
|---|---|
| 1. Ebe fi | 1. Ebe ni |
| 2. Ebe ti | 2. Ebe chwi |
| 3. Eb ef | 3. Ebe hwynt |

**176.** **Meddyd.**

Rhoddir ystyr presennol i'r ffurf ddyfodol, ac ystyr gorphenol syml i'r ffurf orphenol arferol *(habitual).*

| | | |
|---|---|---|
| | *Amser Presennol.* | |
| 1. meddaf | 1. meddwn | |
| 2. meddi | 2. meddwch | meddir |
| 3. medd | 3. meddant | |
| | *Amser Gorphenol.* | |
| 1. meddwn | 1. meddem | |
| 2. meddet | 2. meddech | meddid |
| 3. meddai | 3. meddent | |

**177.** **Piau.**

Arferir y ffurf *pïau* yn holl bersonau yr amser presennol—y ffurf *pïoedd* yn holl bersonau yr amser gorphenol—a *pïeufydd* yn holl bersonau yr amser gorphenol; megys,

*Amser Presennol.*

Myfi, tydi, efe, hyhi, &c., biau.

*Amser Gorphenol.*

Myfi, tydi, efe, hyhi, &c., bïoedd.

*Amser Dyfodol.*

Myfi, tydi, efe, hyhi, &c., bïeufydd.

Yr arfer mewn siarad cyffredin yw deubarthu a gwrthdroi *pïoedd* a *pïeufydd;* fel hyn,—

Myfi, tydi, &c,, oedd piau.
Myfi, tydi, &c., fydd piau.

178. **Byw, a Marw.**

Yn y modd cyffredinol yn unig y ceir y ddau air hyn, am hyny rhaid arfer y mynegair *bod* gyda hwynt i nodi eu gwahanol amserau; megys,

*Presennol.*—Wyf, wyt, &c., yn byw—marw.
*Gorphenol.*—Bu ef, hi, &c., byw (neu fyw)—farw.

179. **Dyddhau, Nosi, Gwawrio, Hwyrhau, Nyfio** (*to snow*), **&c.**

Yn y modd cyffredinol, ac yn y trydydd person unigol o'r moddau eraill yr arferir y rhai yna; megys,

Dyddhaodd, nosai, [pan] hwyrhao.

180. **Moes, Moeswch, Hwde, Hwdiwch.** Ffurf orchymynol yn unig sydd i'r geiriau yna.

181. **Dichon.** Yn y trydydd person o'r amser presennol—neu yn hytrach yr ammhersonol—yr arferir *dichon;* megys,

Pwy a ddichon wrando?
Dichon fy mod, dichon dy fod, dichon im, dichon it, &c.

---

## ENGHREIFFTIAU O'R MODDAU A'R AMSERAU.

182. Y Modd Cyffredinol.

Llawer mursen oedd yno, na wyddai pa sut i *agor* ei gwefusau i *siarad*, chwaithach i *fwyta;* na pha fodd, o wir ddefosiwn, i *edrych* dan ei thraed; a llawer cecren garpiog a fynai *daeru* ei bod hi gystal merch foneddig a'r oreu yn yr ystryd; a llawer ysgoegyn rhygyngog a allai *ridyllio* ffa wrth wynt ei gynffon.

Dim *llewygu* na *llesmeirio* [mynegeiriau enwol] nid oes yno, i *somi* munud o seibiant; ond nerth gwastadol i *ddioddef* ac i *deimlo*.

Gwnaeth hyny i'w calonau *ysboncio* ychydig; megys y gwelwch ddyn yn *cilio* yn drachwyllt, wrth *ganfod* neidr, yn ddiswta, yn *gwanu* ei chonyn, ac yn *llamsach* mewn perth.

Ni ddylai neb *fod* etto
Yn brysur i *ddibrisio*
Mo'r iaith i ni a roddes Duw—
Can's cyfiawn yw ei *chofio*.

### Y Modd Gorchymynol.

A ddarlleno, *ystyried;* a ystyrio, *cofied;* a gofio, *gwnaed*.

*Peidiwch* fy mrawd, ebr Merddyn—na *fyddwch* ry boeth.

*Tyred* allan, ysbryd, a *dibridda!*

*Galwed* henuriaid ei ddinas am dano; ac *ymddiddanant* âg ef.

*Bydd* wych!

Ond, pa beth bynag a fyddo, eb Ahimaas, *gâd* i mi redeg. A dywedodd Ioab wrtho, *rhêd*.

Elphin dêg, *taw* â'th wylo; na *chabled* neb yr eiddo.

Elphin gynneddfau hynod, na *sòr* ar dy gaffaelod.

*Brysia! digona! dwg* eithin—i mewn
Mae'n myned yn ddrychin!
*Gyr* y gwartheg o'r egin;
Hoi! Hoi! *tro* y lloi o'r llîn!

Pob Cymro mwyn *siaraded*
Gymraeg—a'i wlad na *waded;*
Na *roed* ormod fyth ychwaith
O'i serch ar iaith dieithriaid!

### Modd Pendant.

*Amser Gorphenol.*

*Gwelais* gythrwfl mawr, pan *anfonodd* Ioab was y brenin, a'th was dithau; ond ni *wybûm* i beth ydoedd.

Yn wir, ni *fedrais* innau nad *wylais* beth o dosturi.

Ar y gair, ni a *droisom* ein hwynebau oddi wrth y ddinas fawr ddihenydd; ac *aethom* ar i fyny tua'r ddinas fach arall.

*Yna, gorchymynwyd* gosteg yn enw'r brenin.

Yn y flwyddyn 228 y *gwelwyd*, yn misoedd Tachwedd a Rhagfyr, seren-y-gynffon yn estyn ei phelydr megys tân llachar.

A *golchwyd* ei gerbyd yn llyn Samaria; a'r cŵn a *lyfasant* ei waed. Yr arfau hefyd a *olchwyd*.

Serch a *roddais*—ar ddyn feinais,
Hoen geirw môr gwyllt—bûn ail Essyllt;
Ei thegwch hi—*bu*'n saeth i mi,
E'm *saethes* hon—o'i golygon.
*   *   *
*Soniais, sygenais* gŵynion—do ganwaith,
Am dêg Wynedd wendon.

*Amser Gorphenol Arferol.*

*Eilliai* yr hen Frutaniaid eu cyrph yn llwyr, ond y pen, a'r wefus uchaf.

Ar nos Galan Mai, *cynneuid* tân ar ben pob carnedd trwy yr ynys.

A defod yr offeiriad gyda'r bobl oedd, pan *offrymai* neb aberth, gwas yr offeiriad a *ddeuai*, pan *fyddai* y cig yn berwi, â chigwain dridaint yn ei law, ac a'i *tarawai* hi yn y badell; a'r hyn oll a *gyfodai* y gigwain a *gymmerai* yr offeiriad iddo. Felly y *gwnaent* yn Silo.

A'i fam a *wnai* iddo fantell fechan, ac a'i *dygai* iddo, o flwyddyn i flwyddyn, pan *ddelai* hi i fyny gyd â'i gwr i aberthu yr aberth blynyddol.

A phan *nesäi* neb i ymgrymmu iddo, efe a *estynai* ei law, ac a *ymaflai* ynddo, ac a'i *cusanai;* ac fel hyn y *gwnai* Absalom i holl Israel.

Hwy a *lefarent* gynt, gan ddywedyd, Dïau yr ymofynant âg Abel; ac felly y *dybenent.*

*Cerddai* dyn wâr—wyneb daear,
Yn hardd baunes—drwy'r melyndes;
Ac ni *phlygai,*—man y *cerddai*
Dan wyn draed hon—un o'r meillion.

*Amser Tragorphenol.*

*Cyfodasai* yr haul ar y ddaear, pan ddaeth Lot i Soar.

Gwelsant y gwyr hyn, y rhai ni *finiasai* y tân ar eu cyrph, ac ni *ddeifiasai* flewyn o'u pen. Ni *newidiasai* eu peisiau chwaith; ac nid *aethai* sawyr y tan arnynt.

Dywed Luc siarad o hono â'r sawl a *fuasent* dystion o'r pethau hyn; ac a'u *gwelsent* â'u llygaid.

Braidd y *cloisai* Cwsg fy synwyrau, nad dyma yn cyfeirio ataf ryw ddrychiolaeth ogoneddus.

*Buasai* cryn ddistawrwydd yn uffern er's enyd; ond yr awrhon torodd yr osteg a *barasai* Lwsiffer.

*Aethai* tros ein henaid ddyfroedd chwyddedig.

Mynegasant iddo y cwbl a *wnaethent.*

*Amser Dyfodol.*

A *ei* di gyda'r gwr hwn? A hi a ddywedodd, *Af.*

Gwibiad a chrwydriad *fyddaf* ar y ddaear, a phwy bynag a'm caffo a'm *lladd.*

Pa hyd y *galeri* di am Saul?

Brenin Babel *(Babylon)* a *esyd* wrthglawdd i'th erbyn, ac a *fwrw* glawdd i'th erbyn, ac a *gyfyd* darian i'th erbyn.

Pyrth y dwfr a *agorir*, a'r palas a *ymddettyd.*

Ti a *fwytei*, ac ni'th *ddigonir;* ti a *ymefli*, ac nid *achubi;* a'r hyn a achubot (-ech) a *roddaf* i'r cleddyf.

> Gofid yn gynt na gwyfyn,
> A *dawdd* wychder dewrder dyn.
>
> Eu Ner a *folant*, eu hiaith a *gadwant*,
> Eu tir a *gollant*, ond Gwyllt Walia.

MODD AMMHENDANT.

*Amser Presennol, Dyfodol, a Thradyfodol.*

Na friwa'r llaw a *estyno* it' arwydd o garedigrwydd, er gwaeled *fyddo.*

Nid yw y llyfr hwn yn cynnwys ynddo ddim na *ellir ei amddiffyn* yn erbyn pwy bynag a'i *gwrthwynebo.*

Nid ydys yn meddwl, pan *gymmero* neb Blygain a Gosper, na ddichon efe eu dyweyd yn mha iaith bynag a *ddeallo.*

A'r periglor ... a bair ganu cloch iddo, cyn y *dechreuo*, modd y *gallo*'r bobl ddyfod i wrando gair Duw.

Ni cheir byth degwch lle *bo* llawer o gyfreithwyr, hyd nes y *caffer* iechyd lle *bo* llawer o physygwyr.

Gwae a *ddygo* dreftad y weddw a'r amddifad.

Am y *caffont* ryw fesur o'r byd yn eu codau, ni ofalant am ddim o'r nefoedd yn eu calonau.

Gwyn eu byd a'r a *wnelont* bob daioni ag a *wypont* —hwy a gant wybod a *fynont.*

Os celwyddog y'th adwaenant, pryd y *traethot* wir ni'th goeliant.

Hithau ni fyn a *gaffo*, ni chaiff a *ddymuno.*

Tra *bydder* esmwyth, nid oes sôn ond am ryw ddigrifwch.

Y maent yn cynnwys, ïe, yn gorchymyn, na *chadwer* llw â heretic.

A *ddarlleno*, ystyried; a *ystyrio*, cofied; a *gofio*, gwnaed.

Yn fardd glân, buan y *boch*—Elisa,
Hwylusaidd y *dysgoch;*
Doed a ddêl, bid da y *gwneloch*
Anhebgor gynghor Huw Goch.

D.S.—Y mae i'r ffurfiau gorphenol arferol a thragorphenol o'r modd pendant ystyr ammhendant, weithiau; megys y dengys yr enghreifftiau sydd yn canlyn.

Ystyr ammhendant sydd bob amser i'r ffurfiau talfyredig *bawn, pettwn, pettaswn,* &c.

*Amser Gorphenol Arferol.*

Beth a *dalet* tithau, Mammon, heb falchder i'w wastraffu ar bethau afraid? canys ped *arferid* arian o fewn terfynau angenrheidiol, pa lês a *wnai* Mammon i ni? Chwithau, Asmodai, penaeth Anlladrwydd, beth a *dalech* oni *bai* Ddiogi a Seguryd? Pa le y caech letty noswaith

O! nad *ymegnïai* ein cenedl.

O! na *bawn* yn seren.

Y fath waedd a *phettai* mil o ddreigiau yn rhoi yr ebwch olaf wrth drengu.

*Pettaech* chwi yma, *caech* weled y tân y tu draw i'ch caerau ar ymgymmeryd i'ch llosgi hyd anwfn.

Mi *droellet* fy ngwallt—O mi *wnaet?*
Wyt hynod garedig, medd hi,
A phe *bawn* yn suo i'th glust
Mi *ddywedwn* mai gwallgof wyt ti;
Mi *hoffet* cael cusan—mi *wnaet?*
Ond cymmer di'n araf, fy ffrynd,
Hi geisiai ymgellwair fel hyn;
Ond O! 'r oedd ei chalon yn myn'd!

*Amser Tragorphenol.*

Yr oedd yno amlder o gynnorthwywyr, pe braich o gnawd a *fuasai* ddigonol i'w chynnal. *Codasai* y fro fel un gwr o'i phlaid, pe *gwnaethai* hyny y tro i gadw y gelyn draw. Pe rhifedi mawr o aur ac arian a *droisai* yr aflwydd heibio, *rhifasid* hwynt hyd y ddimai olaf. Pe dagrau mam, a phe llefain tad, a *dderbyniasid*, yr oeddynt i'w cael.

Eddyf y Rhufeiniaid nas *gallasent* hwy byth orthrechu y Brutaniaid, oni *buasai* am eu hanghydfod.

O! pan oedd yn archolledig
*Cynnaliaswn* bwys ei ben;
Ar ei glwyfau y *dodaswn*
Lïain teg fy ffedog wen.

---

## YR AMSERAU CYFANSAWDD.

### Modd Pendant.

*Amser Presennol Pennodol.*

Er dangos nad peth ofer yw crefydd, *yr wyf yn dechreu* yn ei sylfaen.

*Yr ydym yn derbyn* llawer o lyfrau historïau, nas gwyddom pwy a'u hysgrifenodd.

*Yr wyf yn cyhoeddi* gostegion priodas rhwng Ywain Wyn a Mari Meredydd.

A *ydych yn gwneuthur* rhyw egnïon i attal y drwg hwn?

Nid *yw* [yr hwn sydd o dragwyddoldeb] *yn ymgynnal* ar bethau eraill.

Yma *y mae* [Rhagrith] *yn cadw* ei hysgol.

Fy nydd *sydd yn nyddu* yn fanwl i fyny,
A'r nos *sydd yn nesu* 'roi'n isel fy mhen.

*'Rwy'n dod* ar frys o'r babell frau,
*'Rwy'n teimlo* 'r anadl yn byrhau,
Pa beth yw hwn *sy'n dylu* 'r wawr?
*Mae 'n gwasgu* f'ysbryd llesg i lawr,
*Mae 'n boddi* 'r synwyr—*dwyn* y clyw,—
O Enaid mau! ai angeu yw?

Nid oes angen am roi enghreifftiau o'r amserau eraill.

---

## MYNEGEIRIAU CYFANSAWDD GWRTHDROEDIG.

*Amryw Amserau.*

*Dywedyd yr ydym* nad oes dim dadl nac ammheuaeth am y llyfrau.

*Disgwyl yr ydoedd* am ddinas âg iddi sylfeini.

*Cadw yr ydys* ddeddfau Omri.

*Dysgu yr oeddid* yno wersi o gymmhendod mindlws wrth fwyta.

Ond rhwng bodd, ac anfodd, *morio a wnaethant.*

O'r diwedd, *dyfod a oryg* i dŷ dyn taiog, a *chwilio a oryg* yno am waith.

*Marw a wnelwyf* o farwolaeth yr uniawn.

## FFURF GYSSYLLTIOL MYNEGAIR.

*Amryw Amserau.*

Cydnebydd pawb *fod* rhyw bethau yn y byd â dechreuad iddynt.

Mi a wn o'r goreu *fod Iwl Caisar yn dywedyd* ei hun *iddo wneuthur* cryn hafog yn Mhrydain.

Gan *ddarllen o honoch* bob peth a dâl ei ddarllen, chwi a wyddoch pa faint a drinwyd ar y testyn hwnw.

Ni sieryd ond â'i gwell, am *ddywedyd o'i mam* wrthi nad oes un gamp waeth ar ferch ieuangc na bod yn ddifalch wrth garu.

Pan glybu mab Saul *farw o* Abner, ei ddwylaw a laesasant.

Cadwodd Ioseff ei onestrwydd er *colli* [*o hono*] ei wisg.

Têg y gwnaethent â thi, oni bae *fy nyfod* (neu *ddyfod o honof)* mewn pryd i'th achub.

Gorchymyn *dori o honynt* i mi gedrwydd.

Gwiliwch *gyffwrdd o neb* â'r llangc Absalom.

Yr ydys yn barnu *ddarfod i'r môr ddylifo* tros Gantre'r Gwaelod tua'r flwyddyn 550.

Na thybied fy arglwydd [*ddarfod*] *iddynt hwy ladd* yr holl langciau.

Ni chredais y geiriau nes *im' ddyfod*, ac *i'm llygaid weled.*

" D'wedwch *fod* fy ffroen yn uchel,
*Fod* fy malchder yn drahaus,
*Fod* gwammalrwydd ar fy ngwyneb
A mursendod yn fy llais:
Ond mae terfyn i anwiredd,
I greulondeb, â sarhâd:
Peidiwch byth â dwedyd hyny
*Imi golli* 'm serch at Gymru,
*Imi wadu* iaith fy ngwlad!"

J. CEIRIOG HUGHES.

## Y PEDWERYDD CAM.

---

## CYSTRAWIAETH.

**183.** Ymdrin Cystrawiaeth—

(1) A'r Dylanwad sydd gan air, neu ymadrodd, ar flaen-lythyren gair arall, er mwyn nodi gwrthddrych mynegair, a nodi gwahaniaeth rhyw, &c.

**Ni fynwn roddi ar ddeall fod a wnelo yr holl gyfnewidiadau y sonir am danynt â chystrawiaeth; canys gwneir rhai o honynt, er mwyn persain yn unig. Ond y mae yn gyfleus ymdrin â hwynt oll gyd â'u gilydd.**

(2) A Chydweddiad geiriau â'u gilydd, o ran person, rhyw, a rhif.

(3) A Sefyllfa neu drefn briodol geiriau mewn brawddeg.

---

### I.—DYLANWAD.

#### Dylanwad Enwau.

**184.** Y mae enw benywol unigol yn meddalu blaen-lythyren cyfenw, neu air cyfenwol a ddelo ar ei ol; megys,

| | |
|---|---|
| Llangces *dd*iwyd. | Nodwydd *ddur*. |
| Noson *d*awel. | Cyllell *d*ocio. |

Meddala ambell amgylchiad a ddelo ar ei ol; megys,

Llangces *d*ra diwyd. Y llangces fwyaf *d*iwyd.

**185.** Y mae enw priodol, pa un bynag a fyddo ai gwrywaidd ynte benywaidd, yn meddalu cyfenw, neu enw cyfenwol, a ddelo ar ei ol; megys,

| | |
|---|---|
| Llewelyn *F*awr. | Gwynlliw *F*ilwr. |
| Olwen *b*rydferth. | Phylip Brydydd. |

### DYLANWAD CYFENWAU.

**186.** Y mae y cyfenw dosbenol *y* yn meddalu blaen-lythyren enw benywaidd unigol a ddelo ar ei ol; megys,

Y *dd*ynes, y *g*raig, y *f*elin, y -wialen.

Eithr nid ydyw yn meddalu *ll* nac *rh* yn nechreu enwau benywaidd; canys dywedir, y *ll*aw, y *rh*wyd.

**187.** Y mae *y* yn meddalu blaen-lythyren y cyfenw nesaf ato, pan safo'r cyfenw hwnw o flaen enw benywaidd unigol; megys,

Y *b*rif ffordd, y -wir grefydd, y *d*rydedd awr.

Eithr nid yw *y* byth yn meddalu y prif rifau (oddieithr *dau* a *dwy); canys* dywedir, y *t*air gwaith hyn; y *d*êg dinas.

**188.** Y mae cyfenwau o'r gynradd, ac o'r uchafradd, yn meddalu yr enw a ddelo ar eu hôl, gan nad beth a fyddo rhyw a rhif yr enw hwnw; megys,

| | |
|---|---|
| Anwyl *g*yfaill. | Anwyl *g*yfeilles. |
| Anwylaf *g*yfaill. | Anwylaf *g*yfeilles. |

**189.** Y mae y cyfenwau *pa, ambell, holl, ychydig, rhyw, unrhyw, amryw, y cyfryw, y fath,* yn meddalu blaen-lythyren y gair canlynol; megys,

Pa *dd*iwrnod, ambell *dd*yn, amryw *dd*ynion, yr holl *b*obl, ychydig *b*ethau, unrhyw *g*nawd, y cyfryw *dd*yn.

**190.** Y mae y rhifau trefnol yn meddalu blaenlythyren enw benywaidd a safo ar eu hol; megys,

Yr unfed *f*lwyddyn, yr ail -wae, y drydedd *r*eol.

Bydd awduron diweddar yn meddalu hyd yn oed enw gwrywaidd a ddelo ar ol y cyfenw *ail;* megys, ail *dd*yn, ail *dd*ydd; yn lle, ail *d*yn, ail *d*ydd.

Afreolaidd iawn yw dylanwad y prif rifau, megys y gwelir isod.

**191.** Y mae *un* pan fyddo ystyr benywaidd iddo, yn meddalu blaen-lythyren yr enw nesaf ato.

Un *f*erch, un *g*osp, un *l*oes.

Eithr anfynych y meddalir *ll* ac *rh* ar ol *un;* canys *dywedir* yn gyffredin, un *ll*wy, un *ll*athen.

**192.** Meddala *dwy* flaen-lythyren y gair a'i canlyno; megys,

Dau *dd*yn, dau *l*ew, dau *r*ifyn.

**193.** *Chwytholi p, t, c,* y mae y rhifau *tri* a *chwe;* megys,

Tri *ph*wys, tri *th*roed, tri *ch*awr.
Chwe *ph*wys, chwe *th*roed, chwe *ch*awr.

**194.** *Meddalu p, t, c,* y mae y rhifau *saith* ac *wyth;* megys,

Saith *b*abwyren, saith *d*orth, saith *g*anhwyllbren.

**195.** Y mae y ffurfiau cyfenwol *deng*, *deuddeng*, a *phymtheng* yn ffroenoli *g* a *d;* megys,

Deng *n*yn, deng *n*iwrnod.
Pymtheng *ng*waith, neu pymtheng [ng]waith.

**196.** Y mae y rhifau *pum*, *saith*, *wyth*, *naw*, *deng*, *deuddeng*, *pymtheng*, *ugain*, a *can*, yn ffroenoli blaenlythyren *blynedd* a *blwydd;* megys,

Saith *m*lynedd, ugain *m*lynedd, can *m*lynedd.
Saith *m*lwydd, ugain *m*lwydd, can *m*lwydd.

**197.** Yr un fath yw dylanwad *fy*, *yth*, *ei*, pan y byddont yn gyfenwau dosbenol, a phan y byddont yn rhagenwau personol. Edrycher am danynt, gan hyny, yn mysg y rhagenwau.

### Dylanwad Rhagenwau.

**198.** Y mae rhagenwau personol o'r cyflwr cyntaf yn meddalu gair eglurhaol a arferer ar eu hol; megys,

Ti, *f*renin, yw efe.
Bydd drugarog wrthyf [fi] *b*echadur.
Gwae chwi, *d*ywysogion deillion.

**199.** Meddala *dy* ac *yth* y gair a'u canlyno; megys

Anrhydedda dy *d*ad a'th *f*am.
Ef a'th *f*wydodd â manna er dy *dd*arostwng.

**200.** Y mae *ei* gwrywaidd hefyd yn meddalu enwau, cyfenwau, a mynegeiriau *cyffredinol;* megys,

O! gwyn ei *f*yd hwnw. Ei *r*ad drugaredd.
Oen wedi ei *l*add. Methais â'i glywed ef.

**201.** Chwytholi blaen-lythyrenau y mae *ei* benywaidd (ond nid yw yn dylanwadu dim ar flaen-lythyren mynegair *neillduol); * megys,

Ei *ph*riod a'i *ph*lant. Ei *ph*rif ddinas.
Ephraim sydd fel teisen heb ei *th*roi.
Hi a gymmerodd ei *ch*yfnither a'i *ph*riod i'w [=i ei] *th*y.

**202.** Ffroenoli blaen-lythyrenau y mae *fy;* megys,

Fy *ngh*ân. Fy *ng*odidog wlad
Gwelsoch fy *nh*aflu i lawr.

**203.** Y mae y rhagenwau perthynol. *yr hwn, yr hon, yr hyn,* pan wasanaethont yn lle cyfenwau dosbenol, yn meddalu y gair canlynol; megys,

Yr hwn *f*aes. Yr hyn *b*ethau.

DYLANWAD Y GEIRYN MYNEGEIRIOL *a*.

**204.** Meddala *a* y mynegair a'i canlyno; megys,

Ni a *d*roseddasom. Chwi a -olchwyd.
Y mor a -welodd hyn, ac a *g*iliodd.

DYLANWAD MYNEGEIRIAU.

**205.** Y mae mynegair a fyddo mewn un o'r moddau neillduol yn meddalu blaen-lythyren ei wrthddrych; megys,

| | |
|---|---|
| Breddwydiais *f*reuddwyd. | Clywsoch *dd*ywedyd. |
| Ofnodd *f*yned yno. | Hwy a dwyllant *l*awer. |
| Trallodasoch *f*i. | Poenir *d*ithau. |

**206.** Y mae mynegair a fyddo yn y modd cyffredinol yn meddalu *ti* a *tithau ;* megys,

Clywais ddarfod iddo dy hyfforddi *d*i.
Yna, mi a ddeuaf i'th gynnorthwyo *d*ithau.

**207.** Y mae mynegair neillduol na byddo'r lythyren *t* yn ei ddiwedd yn meddalu *mi* a *ti*, pa un bynag a fyddont ai gwrthddrych ynte sylfon iddo; megys,

Dysgaf *f*i, dysgi *d*i, dysgir *f*i, dos *d*ithau.

Eithr bwrir *m* ymaith o *mi*, pan y bydd rhagenw personol o'r trydydd neu o'r pedwerydd cyflwr o flaen y mynegair; neu, pan y bydd *m, n,* neu *s*, yn niwedd y mynegair; megys, adnabum *i*, adwaen *i*, dysgais *i*.

### Dylanwad Amgylchiaid.

**208.** Meddala amgylchiaid dangosol flaen-lythyren y gair a'u canlyno; megys,

> Wele *f*i. Dyma *G*eidwad.
> Dacw *b*rif lywydd y fyddin.

**209.** Meddala amgylchiaid moddol flaen-lythyren y gair a'u canlyno; megys,

> Melus *g*ofir y cyfammod.
> Teg -wawriodd arnom ddydd.

**210.** Y mae *cyn*, *go*, *lled*, *pur*, *rhy*, yn meddalu blaen-lythyren y cyfenw nesaf atynt; megys,

> Cyn *g*oched, go *l*ew, lled -wastad, rhy *d*rwm.

**211.** Chwythola *ni*, *oni*, a *na* y llythyrenau *p*, *t*, *c*; megys,

> Oni *ch*ysgaist? Na *th*wng. Ni *ch*redaf.

**212.** Meddalu y maent y blaen-lythyrenau eraill; megys,

> Ni fwytaf *g*ig. Oni *dd*arllenasoch. Na *l*add.

### Dylanwad Cyssylltiaid.

**213.** Y mae *a*, *na*, ac *o* (= os) yn chwytholi *p*, *t*, *c*; megys,

> Mesur a *ph*wys. Gwell clwt na *th*wll.
> O *ch*erwch fi, cedwch fy ngorchymynion.

**214.** Meddala *neu* enwau, cyfenwau, a mynegeiriau hefyd, pan fyddont yn y modd cyffredinol; megys,

> Naill ai llwynog neu *l*wyn rhedyn.
> Du, neu *f*elynddu, ydyw o liw.
> Dylai naill ai ymlonyddu neu *f*yned allan.

**215.** Y mae i'r cyssylltiad *oni* yr un dylanwad a'r amgylchiad *oni*. [*Gweler* 211.]

**216.** Y mae *am*, *gan*, *pan* yn meddalu y gair a'u canlyno; megys,

> Am *b*echu. Gan *dd*arfod dy gystuddio. Pan glybûm.

### DYLANWAD RHAGDDODIAID.

217. Y mae *am, ar, at, gan, heb, i, o, tan, tros, trwy, wrth*, yn meddalu y flaen-lythyren ganlynol; megys,

Am *d*anoch. Heb *dd*im. I *G*aerdydd. Tan *g*anu.

218. Y mae *â, efo (=hefo), tua, tra*, yn chwytholi y lythyren a ddelo ar eu hol; megys,

Paid â *ch*ysgu. Tra *th*ywyll. Tua *th*ref.

219. YN. Ffroenola *yn* flaen-lythyren enw priod, a phob rhyw air *pennodol* ei ystyr; megys,

Yn *N*inbych. Yn *nh*ir yr Aipht.
Yn *mh*abell y cyfarfod. Yn *ngh*anol y ddinas.

220. Ffroenola y geiriau *pwy, pa, pob, pawb;* megys,
Yn *m*hwy. Yn *m*ha le. Yn *m*hob lle. Yn *m*hawb.

221. Meddala flaen-lythyren enw, neu gyfenw, a fyddo yn cyflawni ystyr mynegair anghyflawn; megys,

Y mae y Saeson yn *d*rahaus.
Yr oedd Herod yn *g*reulawn.
Yr wyf yn *dd*irwestwr.

(Eithr nid yw yn meddalu *ll* ac *rh*).

222. Meddala flaen-lythyren cyfenw a wasanaetho fel amgylchiad; megys,

Ymladdasant yn *b*ybyr.
Llawer merch a weithiodd yn *r*ymus.

### DYLANWAD CYFRYNGIAID.

223. Meddala cyfryngiaid flaen-lythyren y gair a'u canlyno; megys,

Ha *f*ab. O *dd*yn. Hai -was. Och *f*i.

### DYLANWAD GEIRIAU A ADAWER ALLAN.

224. Y mae y geiryn *a*, er na byddo ond dealledig, yn meddalu y gair a'i canlyno; megys,

Colombo [a] *dd*arganfu yr Americ.

**225.** Y mae yr *yn* fydd yn ddealledig ar ol un o ranau y mynegair *bod* yn meddalu y gair canlynol; megys,

Na fydd [yn] *dd*oeth yn dy olwg dy hun.

**226.** Y mae cyfryngiaid a adawer allan yn dylanwadu ar y geiriau a dybygir sydd yn eu canlyn; megys,

[O] *F*oneddigion. [Hai] *F*echgyn.

### Dylanwad Geiriau a drawsgyfleir.

**227.** Y mae mynegair cyfansawdd gwrthdröedig yn meddalu blaen-lythyren ei wrthddrych; megys,

Cadw yr ydych *dd*iwrnodau.

(Yn naturiol:—Yr ydych yn cadw *d*iwrnodau.)

**228.** Y mae rhagddodiad personol, amgylchiad, neu ymadrodd amgylchiadol, a ddoder o flaen sylfon neu wrthddrych mynegair blaenorol, yn meddalu y cyfryw sylfon neu wrthddrych; megys,

Y maent yn dwyn arnynt eu hunain *dd*inystr buan.
Bu yno *f*renhinoedd.
Edrych yr oeddit hyd oni thorwyd allan *g*areg.
Yr oedd, yn y wlad hono, *f*ugeiliaid.

(Yn naturiol:—Bu *b*renhinoedd yno, &c.)

### Chwytholiad Llafarogion dechreuol.

**229.** Chwytholir llafarog o flaen gair, ar ol *ym ('m)*, *ein ('n)*, *eu ('u, 'w)*, ac *ei ('i, 'w)* benywaidd. Llafarog mynegair a fyddo mewn un o'r moddau *neillduol*, yn unig, a chwytholir ar ol *ei ('i, 'w)* gwrywaidd; megys,

Myfi a'i *h*eneiniais ef.
Ei *h*aur a'i *h*arian hi.
Ar gam y'm *h*erlidiasant.
Mi a'i *h*arbedais hi.
Eu *h*aur a'u harian hwy.
Ernes ein *h*etifeddiaeth.

### Dylanwad y Rhagsillau.

**230.** Meddala y rhagsillau sydd yn y golofn isod y llythyren a ddelo ar eu hol:—

*a* (weithiau):—megys, dysg, addysg; maeth, afaeth.
*ach*:—megys, lles, achles; rhwydd, achrwydd.
*ad*:—*megys*, byw, adfyw; gwaith, adwaith.

*add*:—megys, mwyn, addfwyn; gŵyr, addŵyr.
*af*:—megys, glwys, aflwys; llawen, aflawen.
*al* (weithiau):—megys, carw, algarw *(reindeer)*.
*all*:—megys, bro, allfro; gwaith, allwaith.

**Eithr, weithiau, nis meddala *m* a *t*; megys, allmor, alltrem.**

*am* (=o amgylch):—megys, toi, amdoi.
*am* (=aml):—megys, rhyw, amryw.
*an* (weithiau):—megys, mâd, anfad; gwastad, anwastad
*ar*(yn gyffredin):—megys, pais, arbais; dangos, arddangos
*as*, *es*, *ys*:—megys, cloff, asgloff; cymmun, esgymmun.

**Eithr nis meddalant *b* a *t*; ac yn fynych troant *d* yn *t*; megys, ysbwrial, estron, astell.**

*at*:—megys, dodiad, atddodiad.

**Eithr y mae *at* yn fynych yn caledu *d*; megys, dodiad, attodiad; dal, attal.**

*cy*:—y mae *cy* weithiau yn meddalu *b*, *m*, ac *g*:—megys, bwriad, cyfwriad; moli, cyfoli; gwelyog, cywelyog.
*cyd*, *cyf*:—megys, gwerth, cydwerth, cyfwerth; llawn, cyflawn.

**Mynych y try *cyd* yn *cyt* o flaen *t*; megys, tir, cyttir.**

*cym* (cy-ym):—*g* a *t* yn unig y mae *cym* yn eu meddalu: megys, gwêdd, cymwedd; teithio, cymdeithio.
*cyn* (=cynt):—megys, teyrn, cyndeyrn; bardd, cynfardd.

**Eithr ni ddylanwada ar *ll*, nac yn gyffredin ar *c* a *rh* chwaith; ac y mae yn fynych yn ffroenoli *d* a *t*.**

*dad*:—megys, blino, dadflino; gwreiddio, dadwreiddio

**Try *dad* yn *dat* o flaen *t*, ac weithiau o flaen *d* wedi ei throi yn *t*; megys troi, dattroi; dodiad, dattodiad.**

*dam*(dy-am):-megys, tywys, damdywys; bwrw, damfwrw
*dar*:—megys, pwyllo, darbwyllo; bod, darfod.

*Eithriadau*,—darbod, darparu, &c.

*dat* [gweler *dad*].
*ded*:—megys, llidio, dedlidio; gŵydd, dedwydd.
*di*:—megys, dig, diddig; mefl, difefl.

**Erfyr llawer *di* yn lle *dy*; megys, dioddef (dy-goddef), diben (dy-ben)**

*dir*:—megys, cêl, dirgel; gwasgu, dirwasgu.

**Eithr nid yw yn meddalu *m* a *p* bob amser; megys, myg, dirmyg; prwy, dirprwy; &c.**

*dis* (=di-ys) [gweler *as*].

**Erfyr rhai *dis* yn lle *dys*; megys, disgwyl, distaw.**

*dos* (dy-go-ys) [gweler *as*].

*dy* :—megys, plyg, dyblyg; trwyno, dydrwyno.

Eithr gweler 233.

*dym* (dy-ym) :—porthi, dymborthi; rhoddi, dymroddi.
*e* (weithiau) :—megys, cryd, egryd; gwyn, egwyn.
*ech* :—megys, llur, echlur; rhestr, echrestr.
*ed* :—megys, budd, edfudd; rhith, edrith.
*en* :—megys, pyd, enbyd; mil, enfil.

Eithr nid yw *en* yn dylanwadu dim ar *c*, *ll*, *rh*, a *t*; megys, cudd, encudd; rhyfedd, enrhyfedd.

*er* (yn gyffredin):—megys, parch, erbarch; clywed, erglywed.
*go* :—megys, canu, goganu; berwi, goferwi.

Eithr gweler 233.

*gor* (yn fwyaf cyffredin) :—megys, moli, gorfoli.

Eithr gweler *gor* yn adran 233.

*gos* (=go-ys) :—megys, cred, gosgred; llef, goslef.

Eithr nid yw, yn gyffredin, yn meddalu *m* a *t*; megys, gosmwyth, gosteg.

*gwrth* :—megys, cilio, gwrthgilio; rhyfel, gwrthryfel.
*hy* :—megys, car, hygar; parch, hybarch.
*lled* :—megys, gorwedd, lledorwedd; rhith, lledrith.

Nid yw *lled* yn meddalu y llythyren *t*, ond ymdry yn *llet*, pan y delo o'r blaen; megys, tyb, llettyb.

*rhag* :—megys, dant, rhagddant; gweled, rhagweled.
*rhy* :—megys, brys, rhyfrys; parch, rhybarch.
*try* :—megys, gwanu, trywanu; tân, trydan.
*ty*(=dy):—megys, gwarchen, tywarchen; gwynu, tywynu.
*ym* :—megys, cyrch, ymgyrch; pesgi, ymbesgi.

**231.** Ffroenola y rhagsillau isod ambell lythyren a ddelo ar eu hol.

Y mae *an* yn ffroenoli *p*, *t*, *c*, *d*, ac weithiau *b*, ac *g* hefyd; megys, pendant, anmhendant; trefn, annhrefn; clod, annghlod; duwiol, annuwiol.

*Sylw.*—Erfyr rhai *a* yn lle *an* o flaen *ng* ac *ngh*: ac arferant *am* yn lle *an* o flaen y tarddedigion *m* ac *mh*; megys, anghywir, yn lle annghywir; ammri, yn lle anmri; ac ammhendant, yn lle anmhendant.

Y mae *cy* yn ffroenoli *g* ac *c*; megys, glun, cy-nglun; crair, cy-nghrair.

*cym* (neu *cy*, yn ol rhai) yn ffroenoli *b* a *p*; megys, brawd, cymmrawd (neu cymrawd); pwys, cymmhwys (neu cymhwys).

Y mae *cyn* (neu *cy*, yn ol rhai) yn ffroenoli *d* a *t;* megys, dal, cynnal (neu cynal); tês, cynnhes (neu cynhes).

„ *cyn* (=cynt), weithiau, yn ffroenoli *d* a *t;* megys, deddf, cynneddf; twf, cynnhwf.

232. Y mae y rhagsillau canlynol yn chwytholi ambell lythyren a ddelo ar eu hol.

Y mae *a* yn chwytholi *c* a *t;* megys, cŵyn, achwyn; trylith, athrylith.

„ *dy* weithiau yn chwytholi *c;* megys, canu, dychanu; cymmysg, dychymmysg.

„ *e* yn chwytholi *c* a *t;* megys, cryd, echryd, echrydus; tref, ethrefu, ethrefig.

„ *go* yn chwytholi *c* yn nechreu ychydig eiriau; megys, crynu, gochrynu; cêl, gochel.

„ *gor* yn fynych yn chwytholi *p*, *t*, *c;* megys, pen, gorphen; trwm, gorthrwm; cuddio, gorchuddio.

„ *tra* yn chwytholi *p*, *t*, *c;* megys, plith, traphlith; tyn, trathyn; call, trachall.

### DYLANWAD Y RHAGSILLAU AR YSTYR GEIRIAU.

233. A, ACH, ADD, AL, AR, DAR (dy-ar), DIR, DY, DI (=dy), DOS, DYS, E, ECH, ED (weithiau), EN, ER (eithr weithiau, *achos o*), TRY (weithiau; megys, tryfrith), GOR, RHY, TRA. Cryfhau yr ystyr y mae y rhai hyn: eithr arferir ambell un o honynt, weithiau, er mwyn amrywiaeth, neu ynte er mwyn cryfhau y sain yn unig.

**Am y ddau reswm olaf, yr arferir rhai o'r rhagsillau canlynol hefyd, weithiau.**

234. GO, LLED, DAR (weithiau; megys, dargrasu) Gwanhau yr ystyr y mae y rhai hyn.

235. A (=an), AD (weithiau; yn enwedig o flaen *f* ac [g]*w;* megys, adfudd, adwerth); AT (=ad), AN, AF, AM (=an), DAD [eithr gweler 238], DAT (=dad), DI, DIS. Rhydd y rhagsillau hyn ystyr gwrthwyneb *i air; megys,* hygyrch, anhygyrch; llyncu, dislyncu.

**236.** Cy, cyd, cyf, cym, cyn, cys, cyt. Cyttundeb, cyd-drafodaeth, cyfranogaeth, &c,, a arwydda y rhai hyn; megys, cyfled, cofoedion, cyfammodi, cydnaws.

**237.** Ail, eil, ad neu at (weithiau), dad neu dat (=dy-ad). *Trachefn*, neu *yn ol*, ydyw ystyr y rhai hyn; megys, adgenhedlu, adlais, adlif, adlam, attrefnu, adlifo.

**238.** Am, dam. *O amgylch* ydyw eu hystyr; megys, amgludo, amgoed, damrodio.

**239.** Ym, dym. Ymweithrediad a arwydda y rhai hyn yn gyffredin; megys, ymrwymais—sef, yw hyny, rhwymais fy hun. Ond arwyddant, weithiau, gyd-drafodaeth neu gydymdriniaeth *(mutual action)*; megys, Gwelais hwynt yn ymgofleidio, ac yn ymgusanu; hyny ydyw, Gwelais hwynt yn cofleidio, ac yn cusanu eu gilydd.

**240.** Y mae y rhagsillau canlynol yn rhy annhebyg i'w gilydd i'w dosbarthu; gan hyny mi a'u rhoddaf bob yn un, yn ol trefn yr egwyddor.

All (=arall); megys, alleiriad, sef geiriad arall; allwaith, sef, gwaith neu amser arall; alltudio neu allwladu, sef gyru i dud neu wlad arall; alltud, sef un o dud arall.

Am (=aml); megys, am[l]liw, am[l]ryw, am[l]rith.

Amry (=amryw); megys, amryfal, amryfodd, amryfath, amryliw, amrylun.

Cyn (=cyntaf), yn fynych; megys, cyndwf, cynenw, cynflith *(first milk)*, cynfraint, cynoesol, cynraith, cynrith, cynsail, cynt-hun, cynwawr.

Gwrth (1.=yn erbyn neu yn groes); megys, gwrthdyst, gwrthdaraw, gwrthddadleu, gwrthgred, gwrthgrist, gwrthnaws, gwrthwenwyn. (2.=yn ol); megys, gwrthdro, gwrthdynu, gwrtholwg, gwrthgilio, gwrthol.

HY (=y gellir ei) megys, hyall, hyfarn; (=hawdd ei) megys, hygar, hydwyll, hysathr; (=tueddol i) megys, hygoel, hyball, hylithr; (=teilwng o) megys, hybarch, hyglod, hyfawl; (=llawn o) megys, hybwyll, hyddysg, hyfedr, hynerth.

Y mae y rhagsill *hy*, yn gyffredin, yn gyfystyr â'r terfyniad *adwy*; megys, hyall, galladwy; hydwyll, twylladwy; hyglod, clodadwy.
Y mae *hy* felly yn troi enwau yn gyfenwau.

RHAG (=o'r blaen—o ran amser, trefn, a sefyllfa); megys, rhagddarbod, rhagdyst, rhagddant, rhagynys.

TRY (=trwy, neu yn drwyadl); megys, tryfesur, tryloew, trywanu, trylen, tryliw.

Nis rhaid egluro y rhagsillau *gor*, *tra*, &c., am fod eu hystyr yn ddigon amlwg.

---

## II.—SEFYLLFA.

### RHEOLAU CYFFREDINOL.

**241.** (1.) Cyflëir gair cyferbyniol *(antithetic)* yn nechreu brawddeg, neu aelod brawddeg.

**242.** (2.) Mewn brawddeg naturiol ei rhediad, y mynegair a saif yn mlaenaf, pa un bynag a fyddo ai arbwysig ai dïarbwysig *(emphatic or non-emphatic)*.

Gelwir brawddeg na byddo'r mynegair yn mlaenaf ynddi yn frawddeg *wrthdröedig*.

**243.** (3.) Pan y byddo sylfon neu wrthddrych cyferbyniol yn cynnwys geiriau cyfenwol fel chwanegiad, yn y geiriau hyny yn benaf y bydd grym y gyferbyniaeth; megys,

Tŷ *gweddi* y gelwir fy nhy i.
Gwynt *y mor* sydd yn dygymmod â mi.

244. *Eglurhad.*—Dywedir fod gair yn gyferbyniol, pan y cyferbynier y peth a ddynodir ganddo â rhywbeth arall a fyneger, neu a ddealler. Er enghraifft, os gwrthdröaf y frawddeg naturiol "Bum yn Ninbych ddoe," trwy ddyweyd, "Doe y bum yn Ninbych," byddaf cystal a

dweyd "Doe, ac nid echdoe, nac un diwrnod arall, y bum yn Ninbych." Y mae "doe," gan hyny, yn gyferbyniol â phob diwrnod arall, oddi eithr doe. Trachefn, os dywedaf mai "Yn Ninbych y bum ddoe," rhof ar ddeall nad yn y Rhyl, nac yn Mangor, nac yn unlle arall y bum. Y mae "Dinbych," gan hyny yn gyferbyniol â phob lle arall, oddi eithr Dinbych.

Ni fyddwn wrth ddywedyd "Y mae yr Arglwydd yn Dduw," yn gwadu nad oes rhyw fod arall hefyd yn Dduw; ond os dywedwn "Yr Arglwydd, [efe] sydd Dduw," byddwn cystal a dyweyd "Yr Arglwydd yn unig sydd Dduw—ac nid neb arall." Y mae 'Yr Arglwydd," gan hyny, yn gyferbyniol â phob bod arall, oddi eithr efe.

Pe dywedwn hefyd "Duw yw yr Arglwydd," rhoddwn ar ddeall nad dyn ydyw, na dim arall chwaith nad yw yn haeddu ei alw yn Dduw. Y mae "Duw," gan hyny, yn gyferbyniol â phob rhyw fôd nad yw, o ran ei natur a'i briodoliaethau, yn ddwyfol.

Dïau ganfod o'r darllenydd, wrth ddarllen yr enghreifftiau uchod, fod grym i ddidol yn mhob gair cyferbyniol; hyny ydyw, ei fod yn cau allan bob syniad na chynnwysir mohono ynddo ef ei hun. Eithr cyflëir gair, yn fynych, o flaen y mynegair—yn enwedig y mynegair *bod*—er mwyn arbwys yn unig, ac nid er mwyn dynodi cyferbyniaeth; megys, "Cawr o ddyn yw Gruffydd;" yn lle "Y mae Gruffydd yn gawr o ddyn." Gwybydder fod gwahaniaeth rhwng gair arbwysig a gair cyferbyniol. Y mae yn wir fod pob gair cyferbyniol mewn rhyw ystyr yn arbwysig hefyd; ond nid yw pob gair arbwysig yn gyferbyniol. Efallai y bydd y ddwy enghraifft sydd isod, ynghyd â'r hyn a draethwyd eisoes, yn ddigonol i ddangos y gwahaniaeth:—

Pwy o honoch a borthodd yr oen llawfaeth?
*Deiniol.*—MYFI a'i porthais.
*Sara.*—Porthais I ef.

Y mae "myfi" yn gyferbyniol; oblegid y mae Deiniol yn cau allan bawb ond efe ei hun. Arbwysig yn unig ydyw "i;" o herwydd nid yw Sara yn rhoi ar ddeall mai hyhi yn unig a borthodd yr oen. Y cwbl a wna ydyw *gosod pwys* ar y ffaith ddarfod iddi hi ei borthi.

Saif gair cyferbyniol, fel y dywedwyd, o flaen y mynegair; saif gair arbwysig, yn enwedig os bydd yn rhagenw, ar ol y mynegair. Os rhyw ran-ymadrodd arall a fydd ar ei ol, rhaid nodi yr arbwys â'r llais.

Saif gair heb fod yn gyferbyniol ei ystyr, yn fynych, o flaen y mynegair yn y cyfleithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau. Gresyn oedd i gyfleithwyr mor fedrus drefnu cynnifer o'r brawddegau mor Saesnigaidd, a hyny heb ddim rhaid, nac achos. Wrth wneuthur felly, gwnaethant lawer o ymadroddion yn bŵl, yn amwys, ac yn annarllenadwy. Haws o lawer a fuasai deall a darllen y Beibl pe trefnasid ei ymadroddion yn fwy cyttunol âg anian y Gymraeg. Os mynai y darllenydd cyffredin wybod pa beth yw Cymraeg ystwyth, manwl, a miniog, darllened "Weledigaethau y Bardd Cwsg."

## SEFYLLFA'R CYFENWAU.

245. *Rheol gyffredinol.*—Saif y cyfenw yn gyffredin ar ol yr enw y perthyn iddo; megys,

Dyn da. Geneth goeg. Gwrthddadl olygus.

246. Saif y cyfenwau hyn o flaen eu henwau,—*y, yr, hen, prif, ambell, cyfryw, y fath, dim, holl, naill, pa, pob, rhai, rhyw, sawl, ychydig.*

247. O flaen eu henwau y saif y cyfenwau rhifol hefyd, oddi eithr "cyntaf;" megys,

Dau ddyn. Ail gyfrol. Degfed tudalen.

Eithr dodir cyfenw rhifol ar ol y gair *rhif*, ac weithiau ar ol y gair *tudalen;* megys, "rhif deg," "tudalen wyth deg."

248. Saif y cyfenwau hyn, weithiau o flaen, ac weithiau ar ol, eu henwau,—*cam, gwir, gau, cymaint, mwy, llai, llawer, amryw, unig.*

249. Traws, neu gyfeiliornus, ydyw meddwl "cam," pan fyddo o flaen enw. Gŵyrgam neu anuniawn ydyw ei feddwl, pan fyddo ar ol enw. Rhifedi y mae "unig" yn ei olygu pan fyddo o flaen enw. Cyflwr a olyga pan y byddo ar ol enw.

250. Saif cyfenwau yn gyffredin o flaen enwau mewn cyfarchiadau; megys,

*Ardd*erchocaf Ffest. Anwyl gariadus frodyr.

Gellir, er mwyn mydr a chynghanedd, symmud y rhan fwyaf o'r cyfenwau oddi ar ol eu henwau, a'u dodi o'u blaen hwynt. Cyfenwau o'r gyfuwchradd, yr uwchradd, a'r uchafradd, yw y rhai y gellir eu symmud yn fwyaf naturiol; megys,

| | |
|---|---|
| Dyn dewr. | Dewrach dyn. |
| Cyn ddewred dyn. | Y dewraf ddyn. |

## SEFYLLFA'R RHAGENWAU.

**251.** Saif rhagenw personol o'r cyflwr cyntaf o flaen y mynegair; megys,

*Mi* a glywais sôn am danat.
*Ti* a doraist ymaith ofn.

Gwell yw peidio âg arfer rhagenw personol o'r cyflwr yna namyn o flaen mynegair yn y 'trydydd person unigol,' neu ynte, pan ddelo rhagenw personol gwrthddrychol rhyngddo a rhyw fynegair; megys,

*Hi a* gysgodd. *Mi a'th* welaf. *Ti a'u* sethraist.

Ond y peth goreu oll, am chwaneg nag un rheswm, a fyddai arfer y rhagenw anmhersonol *me* (sef *mi* y werin) yn sylfon o flaen mynegair personol, yn hytrach na *mi, ti, ni, chwi, hwy;* megys,

Me'th welaf. Me'u sethraist. Me'ch daliant.

**252.** Arferir rhagenw personol o'r ail gyflwr ar ol mynegair personol; ond ni ddylid ei arfer o gwbl pan na byddo'r sylfon yn arbwysig; megys,

Ni chlywais *i* erioed y fath ganu.
Ond yr wyf *fi* yn dywedyd wrthych.
Nid ydym *ni* o'r rhai sydd yn tynu yn ol.

**253.** Arferir y rhagenwau sydd yn y trydydd a'r pedwerydd cyflwr o flaen enwau a mynegeiriau [*gweler* 130, 131, 133]; megys,

Yn mha le y mae *eich* ty?
Er *dy* fwyn *y'n* lleddir beunydd.
Hi a'*th* dwylla oni ymogeli.
Y dysgybl yr oedd yr Iesu yn *ei* garu.

**254.** Pan fyner dangos fod y rhagenwau a nodwyd yn y rheol o'r blaen yn arbwysig, dodir rhagenwau eraill o'r ail gyflwr ar ol yr enwau a'r mynegeiriau. Rhaid i'r rhagenwau hyn gyttuno o ran rhif a pherson â'r rhagenwau blaenorol; megys,

Yn mha le y mae eich tŷ *chwi?*
Er dy fwyn *di* y'n lleddir *ni.*
Hi a'th dwylla *di*, oni ymogeli.
Y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu.*

* Nis gellir dodi rhagenw o'r ail gyflwr yn niwedd yr ymadrodd hwn; oblegid nid yn mlaen y mae y rhagenw *ei* yn cyfeirio—ond yn ol, at yr enw "dysgybl."

**255.** O flaen y mynegair y saif rhagenw cyferbyniol, pa un bynag ai sylfon ai gwrthddrych fyddo; megys,

*Sylfon.*—Myfi a bechodd. Efe a wnaeth hyn.
*Gwrthddrych.*—Myfi a welaist. Hyhi a garaf [fi].

*Sylw* 1.—Ni ddylid arfer rhagenw cyferbyniol ei ffurf, os na fwriedir rhoi iddo ystyr cyferbyniol.

*Sylw* 2.—Y mae llawer, er mwyn gochel aneglurder, yn arfer *efe* yn lle *ef* ar ol y mynegair, pan ddelo *ef* arall gwrthddrychol yn union ar ei ol. (Dylent, er mwyn cysondeb arfer *hyhi* hefyd yn lle *hi.)* Yn lle dywedyd "Carai *ef* ef," dywedant "Carai *efe* ef." Y mae yr ymadrodd hwn yn ddiddadl yn fwy eglur na'r llall, mewn cyssylltiad o'r fath yna, er fod yr arferiad hwn o'r ffurf gyferbyniol *efe* wedi gwneyd ei ystyr yn ammwys mewn llawer o gyssylltiadau eraill. Er mwyn bod yn eglur ac yn rammadegol hefyd, byddai yn well ail enwi y sylfon neu y gwrthddrych, gan ddywedyd, "Carai Jonathan ef;' neu, "Carai ef Dafydd;" neu ynte gellid dywedyd, "Ef a'i carai [ef]." "Hi a'i carai [hi]."

### SEFYLLFA'R AMGYLCHIAID.

**256.** Y mae y rhan fwyaf o'r amgylchiaid yn syfladwy; ond y mae y rhai negyddol, holiadol, a chymmharol yn mron i gyd yn ansyfladwy.

**257.** Saif *a*, *oni*, *onid*, *onis*, *ai ni*, *ai nid*, *ai nis*, o flaen mynegeiriau neillduol; megys,

A weli di? Oni chlywsoch? Onid aethost?

**258.** Saif *onid*, ac *ai nid*, o flaen rhanau-ymadrodd eraill hefyd. Saif *ai* o flaen pob rhyw air, oddieithr mynegair neillduol; megys,

*Onid* ystlum ydyw? Ai hwn a bechodd?

**259.** Saif *ai ê*, *onid ê*, ac *onid do*, yn niwedd brawddeg; megys,

Dyn medrus yw hwnw, onid ê?

**260.** *Rheol gyffredinol.*—Saif yr amgylchiaid negyddol o flaen y geiriau a negyddant.

**261.** Saif *ni*, *nid*, a *nis* yn nechreu prif-aelod brawddeg; megys,

Ni bydd nos yno. Nid oes neb cyfiawn.

**262.** Saif *na*, *nad*, a *nas*, yn nechreu is-aelod brawddeg; megys,

Fel na choller dim. Dywedir nad ymettyl hi ddim.

**263.** Arferir *ni*, *nis*, *na*, *nas*, o flaen mynegeiriau *neillduol* yn dechreu efo gosain; megys,

Ni chwsg efe. Nis gwn. Na ladrata.

*Nac*, ac nid *na*, a arferir o flaen mynegair gorchymynol yn dechreu efo llafarog; megys, Nac ymrysonwch.

**264.** Arferir *nid*, a *nad*, o flaen mynegeiriau neillduol yn dechreu efo llafarog; ac hefyd o flaen mynegeiriau cyffredinol a rhanau-ymadrodd eraill yn dechreu efo gosain neu lafarog; megys,

Nid chwareu y mae. Haera nad tyrchwr ydyw.

☞ Eithr *ni*, a *na*, a arferir o flaen gosain a ddelo ar ol *g* golledig; megys,

*Ni* [g]ellwch wasanaethu Duw a Mammon.
Ffrostiai *na* [g]orfu neb arno ef. *Na* [g]ommedd fi.

### Y Geirynod Mynegeiriol.

**265.** *Rheol gyffredinol.*—Saif *a*, ac *y*, neu *yr*, o flaen mynegeiriau (mewn ymadroddion cadarnhaol), ac ar ol rhyw ranau-ymadrodd eraill cyferbyniol eu hystyr.

**266.** Saif *a* ar ol sylfon neu wrthddrych cyferbyniol, ac o flaen mynegair; megys,

Y gelyn *a* wnaeth hyn. Gwydraid *a* yfais.

267. Pan arferer *y*, saif y sylfon a'r gwrthddrych ar ol y mynegair; ac am hyny, nid un o honynt hwy a fydd yn gyferbyniol, ond rhyw eiriau eraill amgylchiadol; megys,

Yn y flwyddyn 1240 *y* bu farw Llewelyn Fawr.
Yn mynachlog Aberconwy *y* claddwyd ef.
Mor ddisymwth *y* crinodd y ffigysbren!
I ba le *yr* af [fi] oddi wrth dy Ysbryd?

*Sylw.*—Os cyssylltiad (=*fel*, *pan*, *nes*, &c.) a saif o flaen *y*, ni bydd yn gyferbyniol.

268. D.S.—Ni bydd y "geiriau amgylchiadol," y crybwyllwyd am danynt, ddim yn gyferbyniol, er sefyll yn mlaenaf, os na bydd y geiryn *y*, neu *yr*, rhyngddynt a'r mynegair. Diau nad oes angen am egluro y gwahaniaeth rhwng yr ymadroddion hyn:—

Yn mis Hydref, aeth Meredydd i Lundain.
Yn mis Hydref, *yr* aeth Meredydd i Lundain.

*Sylw.*—Y mae gweled *y* ar ol amgylchiaid mewn llawer o ymadroddion ysgrythyrol yn arwain darllenydd anghyfarwydd â'r Saesneg i feddwl eu bod yn gyferbyniol pan na byddont felly; megys, 'Y noson hono *y* lladdwyd Belsassar," yn lle, "Y noson hono, lladdwyd Belsassar."

269. Pan y byddo un o ffurfiau amser presennol ac amser gorphenol *parhaol* y mynegair *bod* yn dechreu brawddeg, bydd *yr* (eithr *y* o flaen *mae)* bob amser o flaen y gyfryw ffurf; megys,

*Yr* wyf yn credu. *Yr* oedd Rhys Goch yn fardd swynus.

270. MYNEGAIR DI-WRTHDDRYCH, A'I SYLFON.

*Y drefn naturiol.*—Saif y mynegair yn mlaenaf, a'r sylfon yn olaf; megys,

Ffy llyfrgwn. Dychrynodd Ffelic.
Gwaeddais i; neu, †Mi a waeddais.

† Ni fydd rhagenw personol *syml* yn gyferbyniol hyd yn oed pan y byddo o flaen mynegair. [*Gweler* 241, 245, &c.]

*Y drefn wrthdröedig.*—Pan fyddo'r sylfon yn gyferbyniol, fe'i dodir o flaen y mynegair; megys,

Llyfrgwn a ‡ffy. Ffelic a ddychrynodd.
Myfi a waeddodd.

‡ *Ni ddylid* newid dim ar ffurf y mynegair pan y byddo'r sylfon a'i *blaenoro yn gyf*erbyniol [*gweler* 277].

## 271. MYNEGAIR GWRTHDDRYCHOG, EI WRTHDDRYCH, A'I SYLFON.

*Y drefn naturiol.*—Pan na fyddo cyferbyniaeth, safant fel hyn :—

| 1 Mynegair. | | 2 Sylfon. | | 3 Gwrthddrych. |
|---|---|---|---|---|
| E fynai | ... | y gath | ... | lefrith. |
| Cadwed | ... | pawb | ... | eu calon. |
| Ni chân | ... | y gôg | ... | ond a ganodd. |
| Clybu | ... | mab Saul | ... | farw o Abner. |
| Clywais | ... | [i] | ... | fod ŷd yn yr Aifft. |
| Dyfethwyd | ... | — | ... | arfau rhyfel. |

*Trawsgyflëad y sylfon.*—Pan y byddo'r sylfon yn gyferbyniol, fe saif y geiriau yn y drefn hon :—

| 1 Sylfon. | | 2 Mynegair. | | 3 Gwrthddrych. |
|---|---|---|---|---|
| Y gelyn | ... | a wnaeth | ... | hyn. |
| Yr Arglwydd | ... | a gladdodd | ... | Moesen. |
| Tarth y glyn | ... | a ddyfethodd | ... | fy iechyd. |
| Ai Cymry | ... | a ddarganfu | ... | yr Americ? |

*Trawsgyflëad y gwrthddrych.*—Pan y byddo'r gwrthddrych yn gyferbyniol, trefnir brawddeg fel hyn :—

| 1 Gwrthddrych. | | 2 Mynegair. | | 3 Sylfon. |
|---|---|---|---|---|
| Drain ac ysgall | ... | a ddwg | ... | hi. |
| Llysiau y maes | ... | a fwytei | ... | [di]. |
| Dwfr | ... | a geisiodd | ... | Sisera. |
| Ymwthwyr | ... | a anrhydeddir | ... | —. |

*Sylw.*—Y mae brawddeg yn yr hon y byddo'r mynegair rhwng y sylfon a'r gwrthddrych yn ammwys, weithiau. Er enghraifft yn yr ymadrodd,

Blaidd a laddodd y ci,

y mae yn anhawdd gwybod pa un ai "blaidd," ai "ci" yw sylfon y mynegair; canys geill ffurf y frawddeg, ar ei phen ei hun, arwyddo dau beth gwahanol; sef,

*a* { Blaidd a ddarfu i'r ci ladd.
Blaidd a laddwyd gan y ci. }
*b* Blaidd a ddarfu ladd y ci.

## 272. MYNEGAIR ANGHYFLAWN, EI GYFLAWNIAD, A'I SYLFON.

*Y drefn naturiol.*—Fel hyn y'u cyfleir mewn brawddeg naturiol ei rhediad :—

| 1 Mynegair. | | 2 Sylfon. | | 3 Cyflawniad. |
|---|---|---|---|---|
| Y mae | ... | Castelar | ... | yn areithiwr di-ail. |
| Y mae | ... | y Gwyddelod gwledig | ... | yn ffraeth. |
| Bu | ... | Andrassy | ... | yn wrthryfelwr. |
| Nid yw | ... | efe | ... | yma. |

*Trawsgyflëad y sylfon.*—Pan y byddo'r sylfon yn gyferbyniol, bydd y frawddeg yn y drefn hon :—

| 1 Sylfon. | | 2 Mynegair. | | 3 Cyflawniad. |
|---|---|---|---|---|
| Hyn | ... | sydd | ... | hardd. |
| Chwychwi | ... | sydd | ... | bobl. |
| Gruffydd | ... | oedd | ... | yr etifedd. |

*Sylw.*—Gwneir y sylfon yn fwy cyferbyniol fyth, wrth ddodi rhagenw cyferbyniol neu un dosbenol ar ei ol; megys,

| 1 | | 2 | | 3 |
|---|---|---|---|---|
| Yr Arglwydd, *efe* | ... | sydd | ... | Dduw. |
| Y llangc a lafurio, *hwnw* | ... | a fydd | ... | llwyddianus. |

*Trawsgyflëad y cyflawniad.*—Pan y byddo'r cyflawniad yn gyferbyniol, fe'i cyflëir yn nechreu brawddeg:—

| 1 Cyflawniad. | | 2 Mynegair. | | 3 Sylfon. |
|---|---|---|---|---|
| Mawr | ... | yw | ... | Dian yr Effesiaid. |
| Gwyr cywir | ... | ydym | ... | ni. |
| Melyn | ... | oedd | ... | ei gwallt. |

### SEFYLLFA MAE, OES, SYDD, ac YW.

273. Y mae pedair ffurf ar drydydd person unigol y mynegair anghyflawn *bod*, yn yr amser presennol; sef *mae*, *oes*, *sydd*, ac *yw;* ac y mae i bob un *o'r geiriau* yna ei sefyllfa, a'i ystyr ei hun.

274. Saif *mae*, neu *y mae*, o flaen y sylfon mewn brawddeg gadarnhaol. Bydd yr arbwys naill ai ar *mae* ei hun, neu ar y gair a gyflawno ei ystyr; megys,

Y mae dy dad yn glaf.
Y mae sŵn rhyfel yn y gwersyll.

*Sylw.*—Dywed EDWIN NORRIS fod *ma* yn y Gernyweg yn gyfystyr âg *is*; ac fod *y ma* yn gyfystyr â *there is*. Efallai fod yr un gwahaniaeth rhwng ystyr *mae* ac *y mae* yn y Gymraeg; ac y dylid, o blegid hyny, ei ddangos ar lafar, ac ar lyfr.

275. Arferir y gair *oes* o flaen sylfon *ammhennodol* [*gweler* 80] mewn brawddegau negyddol, holiadol, a thybiaethol, yn dechreu â *nid*, *nad*, *od*, *os*, *a*, *onid;* megys,

Nid oes obaith.
Dywed yr ysgrythyr nad oes neb cyfiawn.
Od oes ganddo arian, cyfraned.
A oes neb yn esmwyth arno?
Onid oes driagl yn Gilead?

276. Saif *sydd* ar ol sylfon cyferbyniol, ac o flaen y mynegiad, yr hwn a raid fod yn air *ammhennodol;* megys,

Hyn sydd hardd.
Enw da sydd brydferth.

Eithr ni rydd *sydd* ystyr cyferbyniol i ragenw perthynol a'i blaenoro.

277. Saif *yw* yn gyffredin, ar ol y gair a gyflawno ei ystyr, ac o flaen y sylfon; megys,

Da yw y gyfraith.
Gwladofydd yw Gladstone.

*Sylw.*—Dodir y mynegair *yw*, ambell waith, ar ol ei gyflawniad a'i sylfon; megys, "Y tafod, tân ydyw."

278. Eithr, pan fyddo'r cyflawniad yn *bennodol* [*gweler* 80] fe'i cyflëir ar ol *yw*, a theflir yr arbwys ar y sylfon; yr hwn, o blegid hyny, a gyflëir yn mlaenaf; megys,

Gladstone yw y prif-weinidog.
* Y gyfraith yw grym pechod.

* Fel yna, gyda llaw, y dylasid cyfieithu yr adnod; canys nid yw, fel y mae, yn mynegi meddwl yr apostol.

**279.** Cymer *yw* le *mae* mewn ymadroddion negyddol, holiadol, a thybiaethol; megys,

Mae Lasar yn glaf.
*Negyddol.*—Nid yw Lasar yn glaf.
*Holiadol.*—A ydyw Lasar yn glaf?
*Tybiaethol.*—Os ydyw Lasar yn glaf.

**280.** Hebgorir *yw* yn fynych, yn enwedig mewn diarhebion; megys,

Haws dïeneidio na dinaturio.
Gwyn pob newydd; llwyd pob hên.

**281.** Weithiau, bydd y ffurfiau *sydd, mae,* ac *oes,* yn cynnwys yr holl fynegiad. Pan y gwnelont hyny, nid mynegeiriau anghyflawn fyddant; megys,

Un Duw sydd. Y mae corph anianol. Nid oes obaith.

**282.** MYNEGAIR CYFANSAWDD, A'I SYLFON.

*Y drefn naturiol.*—Fel hyn y saif y geiriau mewn brawddeg naturiol ei rhediad:—

| 1<br>Myn. anghyf. | | 2<br>Sylfon. | | 3<br>Prif fynegair. |
|---|---|---|---|---|
| Y mae | ... | ein cyfaill Lasar | ... | yn huno. |
| Yr wyf | ... | fi | ... | wedi ciniawa. |
| Buasai | ... | llawer un | ... | yn cyffroi. |

*Trawsgyflead y sylfon.*—Pan y byddo'r sylfon yn gyferbyniol trefnir y frawddeg fel hyn:—

| 1<br>Sylfon. | | 2<br>Myn. anghyf. | | 3<br>Prif fynegair. |
|---|---|---|---|---|
| Chwychwi | ... | sydd | ... | yn aflonyddu. |
| Olwen | ... | a fuasai | ... | yn canu. |
| Y mab hynaf | ... | sydd | ... | wedi priodi. |

*Trawsgyflead y prif fynegair.*—Pan y byddo y prif fynegair yn gyferbyniol, bydd y frawddeg yn y drefn hon:—

| 1<br>Prif fynegair. | | 2<br>Myn. anghyf. | | 3<br>Sylfon. |
|---|---|---|---|---|
| Huno | ... | y mae | ... | Lasar. |
| Chwareu | ... | y bum | ... | i. |
| Wedi llewygu | ... | yr oedd | ... | y plentyn. |

**283.** Os bydd y prif fynegair yn fynegair gwrthddrychog, dodir y gwrthddrych, yn gyffredin, yn union ar ei ol; megys,

Yr wyf yn ceisio *fy mrodyr.*
Myfi sydd yn ceisio *fy mrodyr.*
Ceisio *fy mrodyr* yr wyf fi.

**284.** Eithr, os bydd y gwrthddrych ei hun yn gyferbyniol, fe'i dodir yn nechreu brawddeg, a dodir y prif fynegair yn ei diwedd; megys,

*Fy mrodyr* yr wyf fi yn eu ceisio.
*Trugaredd* wyf yn geisio.

---

## III.—CYDWEDDIAD.

### Cydweddiad y Mynegair a'i Sylfon.

**285.** Cydwêdd y mynegair â'i sylfon, pan y byddo y sylfon hwnw yn rhagenw personol syml, neu yn un cyssylltiol [*eithr gweler* 251]; megys,

Cysgais i:—Mi a gysgais.
Cysgasont hwythau:—Hwythau a gysgasont.

*Mi af* cyn yr haf, fy rhan—fu rhedeg,
At Feredydd ab Morgan;
*Minnau gaf* yma'n gyfan,
Mwy aur fath na thalm o'r fan.

*Sylw.*—Nid oedd y mynegair yn cydweddu hyd yn oed â'r rhagenwau syml, pan oedd y Gymraeg yn ei chyflwr mwyaf naturiol. Mynegair yn y trydydd person a arferid *gyda'r* rhagenwau yn mhob rhif a pherson; megys,

Cysges i—*neu,* Mi a gysges.
Cysges ti—*neu,* Ti a gysges.
Cysges ef—*neu,* Ef a gysges.
Cysges hwy—*neu,* Hwy a gysges.

Am na chynnwysai mynegair yn y trydydd person ragenw personol yn ei derfyn, yr arferid ef gyda rhagenwau o *bob rhif a pherson.*

**286.** Pan fyddo'r mynegair o flaen dau sylfon heb fod yn yr un person, â'r nesaf ato y bydd yn cydweddu; megys,

Cysgais i, ac yntau.
Rhedasoch chwi, a Samwel.

**287.** ☞ Os rhagenw cyferbyniol, neu enw, a fydd y sylfon, ni chydwêdd y mynegair âg ef, mewn na rhif na pherson; oddi eithr pan y byddo'r sylfon hwnw, o ddamwain, yn y trydydd person unigol. Mynegair yn y trydydd person unigol a ddylid ei arfer o flaen, ac ar ol y sylfon, yn mha rif neu berson bynag y byddo; megys,

Pechodd Cosbi neu Simri.
Cosbi neu Simri a bechodd.
Cosbi a Simri a bechodd.
Pechodd y Moabesau.
Meibion Israel a bechodd.
Myfi *yw* drws y defaid.
Chwychwi *yw* y canghenau.
At yr eglwys [yr hon] *sydd* yn dy dŷ.
At y saint y rhai *sydd* yn Colossa.
Dynion cynhenus *oedd* yr hen Frutaniaid.
Y rhai hyn a'm hamgeledd*odd.*
Y pryfed a'u gorchudd*ia* hwynt.
Mor gryfion *ydyw* geiriau uniondeb.
Fy esgyrn a lyn*odd* wrth fy nghroen.
Eu llydnod a gryf*hâ.*
Pibellau prês *ydyw* ei esgyrn.
Eich anwireddau a *droes* heibio y rhai hyn.

Myfi a *ferchyg* ac a *sai.*
Ac a *gerdda* yn drwm geulan trai.
Myfi y gŵr a *ddaliai* Gai.

*Sylw.*—Ni chedwir y rheol olaf bob amser yn y cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyr Lân, nac mewn llawer o ysgrifeniadau eraill; canys gwneir i'r mynegair yn gyffredin gydweddu â phob rhyw sylfon a'i blaenoro.

Rhöir ymadroddion o fath y rhai canlynol yn gynlluniau mewn rhai grammadegau; ond fe'u rhöir yma fel enghreifftiau o ymadroddion beius, am eu bod yn groes i anian y Gymraeg:—

Myfi a bechais.

Ein Tad yr hwn *wyt* yn y nefoedd.
A'r bobl a atteb*asant*, ac a ddywed*asant*.
Iuddewon oedd*ynt* y gwyr hyn.
Tafodau *ydynt* arwydd.

Bydd yn hawdd i'r dysgydd wybod pa bryd i arfer, ac i beidio âg arfer mynegair yn y trydydd person wrth y cyfarwyddyd cyffredinol sydd yn canlyn.

288. ☞ CYFARWYDDYD :—Os na chymmer mynegair, ag iddo derfyniad personol, ragenw personol ar ei ol, bydd hyny yn arwydd y dylai y mynegair fod yn ammhersonol, hyny ydyw yn y trydydd person unigol. Gwelir, felly, fod yr ymadroddion hyn yn *annaturiol.*

Myfi a bechais *i*.
Ein Tad, yr hwn wyt *ti* yn y nefoedd.
Tafodau ydynt *hwy* arwydd.
Iuddewon oeddynt *hwy* y gwŷr hyn.
A'r bobl a attebasant *hwy*, ac a ddywedasant *hwy*.

*Sylw.*—Darllener *adran* 275 yn ngwyneb y cyfarwyddyd uchod.

CYDWEDDIAD ENW A CHYFENW.

289. Cydwêdd rhai cyfenwau â'u henwau, mewn rhyw, ac mewn rhif. Y cyfenwau benywaidd hyn, yn unig, sydd raid eu harfer, gyd âg enwau benywaidd.

| | | | |
|---|---|---|---|
| bechan | crêf | cron | hona |
| ber | gwen | dofn | hono |
| brech | melen | hon | trom |

290. Y ffurf wrywaidd fydd ar bob cyfenw yn y gyfuwchradd, yr uwchradd, a'r uchafradd; megys,

Ber, byred, byrach, byraf.

291. Eithr rhaid meddalu blaen-lythyren pob cyfenw a safo *ar ol* enw benywaidd unigol; megys,

Geneth gref,—gryfach. Yr eneth gryfaf.

292. Dylid arfer ffurf liosog y cyfenwau sydd isod, pan fyner eu dodi yn ymyl enwau lliosog :—

| | |
|---|---|
| Arall, eraill | Hwn } hyn |
| Brith, brithion | Hon } |
| Bychan, bychain | Hwnw } hyny |
| Cam, ceimion | Hono } |
| Coch, cochion | Llwyd, llwydion |
| Crwn, crynion | Llydan, llydain |
| Cryf, cryfion | Main, meinion |
| Garw, geirwon | Melyn, melynion |
| Glâs, gleision | Noeth, noethion |
| Gwyn, gwynion | Oer, oerion |
| Gwyrdd, gwyrddion | Poeth, poethion |
| Gwlyb, gwlybion | Trwm, trymion. |

A barnu wrth lafar gwlad, ac arfer gyffredin ein prif awduron, dyna'r holl, neu yn mron yr holl gyfenwau ag y mae yn anghenrheidiol eu dodi yn y rhif liosog, ar ol enwau lliosog. Y mae yn rhydd i Gymro, os myn, liosogi llawer eraill; megys, dynion mawrion, gwyr cedyrn, merched ieuaingc, gweithredoedd mawrion.

CYDWEDDIAD RHAGENW, &c., A'R ENW A'I BLAENORO.

293. Cydwêdd rhagenw perthynol, mewn rhyw â rhif, â'r enw a'i blaenoro; megys,

Maes Effron, *yr hwn* sydd yn Machpela.
Yr ogof, *yr hon* a brynasai Abrahamon.
Y sêr, *y rhai* a ordeiniaist.

294. Cydwêdd rhagddodiaid personol, mewn rhyw a rhif, â'r enw a'u blaenoro; megys,

Y *gwr*, yr hwn yr ymddiriedais *ynddo.*
Y *wlad*, [yr hon] y'm ganed *ynddi.*
Y *gwŷr* [y rhai] yr hyderaist *arnynt.*

*Sylw.*—Mynych y gadewir y rhagenw perthynol allan, yn enwedig pan ddelo rhagddodiad personol ar ei ol.

295. Y mae rhagenwau personol o'r trydydd cyflwr, pan safont o flaen mynegair cyffredinol, yn cydweddu, mewn rhyw a rhif, â gwrthddrych y mynegair hwnw; megys,

*Hwnw* yr wyf fi yn *ei* fynegi i chwi.
Pa *swydd* yr ydych yn *ei* cheisio ?
Y *geiriau* yr wyf fi yn eu llefaru.

## CYDWEDDIAD RHAGENWAU A'U GILYDD.

**296.** Y mae rhagenw personol o'r trydydd a'r pedwerydd cyflwr yn cydweddu, mewn rhyw a rhif, â rhagenw o'r cyflwr cyntaf, a fyneger, neu a ddealler ar ei ol; megys,

> *Fy* nhad *i*, a'*ch* tad *chwithau.*
> Lea, a'*i* phlant *hithau.*
> A ffy gwr o'*m* bath *i?*
> Pechais o'*th* flaen *dithau.*
> Dos yn *fy* ol *i.*
> Ac a'*n* cymmerth *ni* fel yspïwyr.
> Esau a redodd i'*w* gyfarfod *ef.*
> Ni'*th* ollyngaf [*di*] oni'*m* bendithi [*i*].

## CYDWEDDIAD MYNEGEIRIAU A'U GILYDD.

**297.** Pan fyddo mynegeiriau a gyssyllter ag *a, ac,* neu *na, nac,* yn cyfeirio at weithredoedd a wnaethpwyd gan yr un creadur, tan yr un amgylchiadau, y maent yn gyffredin yn cydweddu â'u gilydd, mewn modd, amser, a pherson; megys,

> Nid *af* yn ol, ac nid *arbedaf.*
> Rhoddaf hwynt i'w *mudo*, ac i'w *hanrheithio.*
> Yna y *gwanychwn*, ac y *byddwn* fel gwr arall.
> Fel y *twymno*, ac y *llosgo* ei bres.
> Ni fynent nac *ymladd* na *ffoi.*

298. *Eithriad.*—Pan fyddo dau (neu chwaneg) o fynegeiriau a gyssyllter ynghyd yn crogi wrth yr un cyssylltiad, bydd y blaenaf o honynt yn y modd pendant, neu yr ammhendant; a'r un, neu y rhai canlynol, yn y modd cyffredinol; megys,

> Yr hwn, pan *ddaeth* a *gweled* gras Duw.
> Pan *gymmero* gwr wraig, a'i *phriodi.*
> Pan *ddelot* i'r tir, a'i *feddiannu*, a *thrigo* ynddo.

Prin y rhaid dweyd, os bydd sylfon lliosog, a chyssylltiad hefyd, yn sefyll rhwng dau fynegair, na bydd y ddau fynegair hyny ddim yn cyttuno; megys,

> *Ymwrolodd* y milwyr, ac *ymbarotoisant* i ryfela.

**299.** Bydd dau fynegair, a gyssyllter â *pe*, yn cydweddu â'u gilydd *yn gyffredin*, mewn modd ac amser; megys,

Nid *awn* i yno, pe *bawn* yn dy le.<br>
*Dywedet* rywbeth arall, ped *ystyriet* y cwbl.<br>
Odid a *ddaethwn* yma, pe *gwybuaswn* hyny.

**300.** Mynegair ammhendant a arferir mewn is-aelod brawddeg, pan y byddo mynegair a olygo yr amser y sydd, neu yr amser a fydd, yn ei phrif-aelod; megys,

Y mae hi yn brysio }<br>
Hi a frysia } fel y *gorpheno.*<br>
Brysied }

Y mae'r Loyoliaid yn gorchymyn }<br>
Gorchymyn y Loyoliaid } na *chadwer* llŵ.<br>
Gorchymyned y Loyoliaid }

**301.** Mynegair yn yr amser gorphenol arferol (o ran *ffurf*) a arferir mewn is-aelod brawddeg, pan y byddo mynegair a olygo yr amser a fu, yn ei phrif-aelod; megys,

Brysiai }<br>
Brysiodd } fel y *gorphenai.*<br>
Brysiasai }

Yr oedd y Loyoliaid yn gorchymyn }<br>
Gorchymynai y Loyoliaid }<br>
Gorchymynodd y Loyoliaid } na *chedwid* llŵ.<br>
Gorchymynasai y Loyoliaid }

Yr oedd hi yn sefyll }<br>
Safai }<br>
Safodd } rhag y *delai* cwsg arni.<br>
Safasai }

Yr oeddwn yn dywedyd wrthyt }<br>
Dywedwn wrthyt }<br>
Dywedais wrthyt } y *deuwn.*<br>
Dywedaswn wrthyt }

*Eithr dywedir* hefyd "Dywedaswn wrthyt y *daethwn.*"

**302.** Bwrir fod y mynegair cyffredinol a arferir mewn is-aelod brawddeg yn yr un amser a'r mynegair neillduol a fyddo yn ei phrif aelọd; megys,

> *Aethum* yno, cyn iddo *godi* o'i wely.
> *Af* yno, cyn iddo *godi* o'i wely.
> *Aethum* yno, cyn *codi* o hono.
> *Af* yno, cyn *codi* o hono.

**303.** Bydd y mynegair a arferir mewn ateb yn cydweddu, *o ran amser*, â'r mynegair a arferir mewn holiad; megys,

> A oes eneidiau gan blant? Oes.
> A wyt yn credu hyn? Ydwyf.
> A fydd dydd barn? Bydd.
> A raid i bawb farw? Rhaid.
> A ddylech chwi oll fod yn blant da? Dylem.
> A darewi fi? Tarawaf, *neu* Gwnaf.

**304.** Pan fyddo mynegair cyfansawdd yn yr holiad, anfynych yr ail adroddir y mynegair penaf wrth ateb; megys,

> A ydyw hi wedi gwallgofi? Ydyw.
> A oeddech chwi yn gweithio ddoe? Oeddem.
> A fyddant hwy yn darllen llawer? Byddant.

**305.** Pan fyddo mynegair gorphenol syml yn yr holiad, anfynych yr ail adroddir ef yn yr ateb; megys,

> A glywsoch chwi y chwedl? Clywsom, *neu* Do.
> A gladdwyd ef? Do.
> Ti a'i cystwyaist, onid do? Do.

### Cydweddiad Amgylchiaid Holiadol a rhai Attebol.

**306.** Nail ai *ïe*, neu *nagê*, a fydd yr atteb i holiad ag y byddo yr arbwys ynddo ar unrhyw ran-ymadrodd, oddieithr mynegair neillduol; megys,

| | |
|---|---|
| MYNEGAIR CYFFREDINOL | Ai *cysgu* y mae hi? Ië. Nage.<br>Onid (*neu* ai nid) cysgu y mae? Ië.<br>Cysgu y mae, onid e? Ië.<br>Nid cysgu y mae, ai e? Nage. |

ENW ............ { Ai *ceiliog* yw? Ië. Nage.
Onid ceiliog yw? Ië.
Ceiliog yw, onid e? Ië.
Nid ceiliog yw, ai e? Nage. }

RHAGENW ... { Ai *hon* yw Naomi? Ië. Nage.
Onid hon yw Naomi? Ië.
Hon yw Naomi, onid e? Ië.
Nid hon yw Naomi, ai e? Nage. }

CYFENW ...... { Ai *meddw* ydyw? Ië. Nage.
Onid meddw ydyw? Ië.
Meddw ydyw, onid e? Ië.
Nid meddw ydyw, ai e? Nage. }

AMGYLCHIAD .. { Ai *heddyw* y daethoch? Ië. Nage.
Onid heddyw y daethoch? Ië.
Heddyw y daethoch, onid e? Ië.
Nid heddyw y daethoch, ai e? Nage. }

RHAGDDODIAD { Ai *ar gyfer* y pulpud yr eisteddech? Ië. Nage.
Onid ar gyfer y pulpud yr eisteddech? Ië.
Ar gyfer y pulpud yr eisteddech, onid e? Ië.
Nid ar gyfer y pulpud yr eisteddech, ai e? Nage. }

307. *Sylw.*—Naill ai *ïe*, neu *nage*, a ddisgwylir yn atteb i holiad ag y byddo *ai* ynddo. *Ië* a ddisgwylir yn atteb i holiad ag y byddo *ai nid, onid,* ac *onid e* ynddo. *Nage* a ddisgwylir yn atteb i holiad ag y byddo *ai e* ynddo.

308. CYFATEBIAD CYSSYLLTIAID I'W GILYDD.

Nis gellir dweyd fod geiriau cyfatebol yn cydweddu â'u gilydd yn ystyr cyfyng y gair; ond arferir "cydweddiad" yn y llyfryn hwn mewn ystyr llydan, fel y gallo gynnwys cyfatebiad hefyd. Gwelir fod rhai amgylchiaid yn mhlith y geiriau sydd isod.

*Cyn* iached *a*'r brithyll.
*Mor* alluog *ag* undyn.
*Cyn* dewed, *fel* na ddichon sefyll.
*Fel* y gwnaethum, *felly* y talwyd im'.
*Felly* rhedwch *fel* y caffoch afael.
*Pe* rhwystrid pawb [*etto*] ni'm rhwystrir i.

*Er* dy geisio, [*etto*] ni'th geir.
Nid oes genyf *na* thir, *na* thai.
Pa un bynag a fyddo, *ai* da, *ai* drwg.
Naill *ai* llwynog, *neu* lwyn rhedyn, &c.

309. Y Rhagddodiaid Priodol i Fynegeiriau, &c.

Y mae rhai enwau, cyfenwau, a mynegeiriau yn gofyn rhagddodiaid neillduol ar eu hol. Ni ddylid meddwl wrth hyn fod yr un rhagddodiad yn dilyn yr un mynegair (neu, &c.,) bob amser; canys rhaid hebgor, neu ynte newid, y rhagddodiad ar ol llawer gair, yn ol fel y byddo yr ystyr yn gofyn; megys,

Efe a wnaeth y nefoedd.
Nid felly y gwnaeth efe *â* ni.
Fel hyn y gwnelo Duw *i* mi.

Dadleuwch *tros* y weddw.
Dadleuaf *â* meibion eich meibion.

*A* neu *âg*, ac *efo*, a fydd, yn gyffredin, yn dilyn rhanau-ymadrodd ag y byddo *cy* (cyfystyr â *cyd*), neu *ym* (gogyfystyr âg *eu gilydd*) yn eu dechreu; oblegid hyny, ni ddodir geiriau felly yn y rhestr isod, oddi eithr pan y cymmeront ryw ragddodiad gwahanol ar eu hôl.

Achub *rhag, oddiwrth*
—— *o*
achwyn *ar*
adferyd *i*
adnabyddiaeth *o*
adrodd *wrth*
addaw *i*
addef *wrth*
agored *i*
agos *at, i*
angen *ar*
—— *am*
amddifad *o*
amneidio *ar*
ammodi *â*
anair *i*
anfon *i*
anfon *at*
anffyddlawn *i*
anhawdd *i*
—— *gan*
angharedig *wrth*
anghynnefin *â*
anghywir *i*
anrheg *i*
anrhegu *â*
anrhydedd *i*
anrhydeddu *â*
anufuddhau *i*
anwyl *gan*

appelio *at*
arglwyddiaethu *ar*
argyhoeddi *o*
arswydo *rhag*
arswyd *ar*
ateb *i*
—— *tros*
attal *rhag*
attolygu *ar*, neu *i*
awyddus *i*
—— *am*
awdurdodi *ar*

Baich *ar*
barnu *wrth, yn ol*
beio *ar*
bendithio *â*
benthyca *gan*
blâs *ar*
blino *ar*
blinder *i*
boddlawn *i*
—— *ar*
braw *ar*
brawychu *â*
brychni *ar*
bryd *ar*
budd *i*
buddugoliaethu *ar*
bwydo *â*

Cadwyno *wrth*
cadw *i*
—— *rhag*
—— *ar*
cael *gan*
caled *wrth*
calon *i*
calon *ar*
caniatau *i*
cariad *ar, at*
cas *gan*
—— *wrth*
cau *ar*
cefnu *ar*
ceisio *gan*
celu *ar*
—— *rhag, oddiwrth*
cenfigenu *wrth*
cerfio *ar*
cilio *i*
—— *at*
—— *o*
—— *rhag, oddiwrth*
claf *o*
cloi *ar*
clywed *ar* (ei galon)
coel *ar*
cofio *am*
—— *at*
cof, neu coffa *am*
coron *ar*
—— *am ben*
cospi *am*
cosp *ar*
craffu *ar*
credu *yn, mewn*
—— *i*
creulawn *wrth*
crogi *wrth*
—— *gerfydd*
—— *ar*
crybwyll *am*
cuddiedig *rhag*
—— *oddi wrth*
—— o olwg, *o ŵydd*

curo *wrth*
cychwyn *o*
—— *i*
cydio *wrth*
cyfaddas *i*
cyfaill *i*
cyfarch gwell *i*
cyfarfod *â*
cyfarwydd *â, ar*
cyfarth *ar*
cyfaddef *wrth*
cyfoethog *o*
cyflawn *o*
cyfeirio *at*
cyfreithlawn *i*
cyfranog *â, o*
cyfranogi *o*
cyfranu *i*
cyffelybu *i*
cyffwrdd *â*
cyhoeddi *i*
cyhuddo *o*
—— *wrth*
cymmeradwy *gan*
cymmharu *â*
—— *i*
cymmhell *i*
—— *ar*
cymmhorth *i*
cymmhwyso *i*
cymmhwyso *at*
cymmwynasgar *i*
cymmodi *â*
cynnyg *i*
cyrhaedd *i, hyd*
cystadlu *â*
—— *i*
cysur *i*

cywain *i*
cywilydd *ar*
cywilyddio *am, o achos*

Chwanegu *at*
chwant *i*
—— *am*
—— *ar*
chwannog *i*
chwerthin *am ben*
chwerw *wrth*
chwibanu *ar*
chwyrnu *ar*
chwythu *ar*

Da *i*
—— *wrth*
—— *gan*
—— *rhag*
dadleu *â*
—— *tros*
—— *yn erbyn*
damweinio *i*
dangos *i*
dal *ar*
dannod *i*
danfon *i*
—— *at*
darbod *tros*
darfod *am*
—— *â*
darostwng *tan*
darostyngedig *i*
darpar *i*
datguddio *i*
dawn *i*
deadell *o*
deddf *i*

defnynu *ar*
degwm *o*
dechreu *ar*
deisyf *ar*
dethol *o*
—— *i*
dial *ar*
dianc *o*
—— *i*
—— *rhag*, *oddiwrth*
—— *gan*
diarwybod *i*
didol *oddi wrth*
dïeuog *oddi wrth*
—— *gan*
diflasu *ar*
difrod *ar*
difudd *i*
digio *wrth*
—— *am*, &c.
digon *i*
—— *o*
—— *ar*
digoni *â*, *o*
dileu *o*
dilladu *â*
dinystriol *i*
diodi *â*
diolch *i*
diolch *am*
diwallu *â*
diwedd *ar*
dodi *at*
—— *heibio*, &c.
drygair *i*
dull *ar*, *o*
dychrynu *rhag*
*dyfal i*, *ar*
dyfod *â*
—— *o hyd i*
—— *ar*, &c.
dyhidlo *ar*
dyferu *ar*
dylanwadu *ar*
dyledus *i*
dymuno *ar*
dymuniad *i*
—— *at*
dysgedig *yn*
dysgu *i*
—— *gan*
—— *yn*
dysgybl *i*
dysgwyl *am*
—— *wrth*
dyweddïo *i*, *â*
dywedyd *wrth*
—— *i*

Eangu *ar*
echwyna *(lend) i*
edifarhau *am*
edifeirwch *am*
edliw *i*
edrych *ar*
—— *am*
eiddigeddu *tros*
eiriol *ar*
—— *tros*
eisiau *ar*
elwa *ar*
eneinio *â*
enw *i*
—— *ar*
enwaedu *ar*
erchi *i*

erchi *ar*
esgor *ar*
esmwythau *ar*
esmwythdra *i*
ethol *o*
euog *o*
etifedd *i*
ewyllys *i*
—— *yn*

Ffurf *ar, o*

Gadael *i*
gafael *yn, mewn, ar*
galaru *am*
galw *ar*
—— *am*
gelyn *i*
geni *o*
glynu *wrth*
gobaith *i*
—— *o*
—— *ar*
—— *am*
gobeithio *am*
—— *yn, mewn*
gochelyd *rhag*
goddef *i*
gofal *ar*
gofalu *ar*
—— *am*
—— *rhag*
—— *tros*
gofalus *am*
gofidio *am*
—— *tros*
gofyn *i*
—— *am*
gofyn *gan*
gogwyddo *at*
goleuni *i*
—— *ar*
golwg *ar*
gorfoleddu *yn*
—— *ar*
gormesu *ar*
goruchafiaeth *ar*
gostyngedig *i*
gwahanu *rhwng*
—— *oddi wrth*
gwahanol *i*
gwahodd *i*
gwaharddu *i*
gwaredu *rhag*
—— *oddi wrth*
gorchymyn *i*
gweddu *i*
gweddïo *ar*
—— *am*
—— *tros*
gweini *i, ar*
gwisgo *â*
—— *am dan*
gwneuthur *i*
—— *â*
gwrandaw *ar*
gwregys *am*
gwregysu *â*
gwenieithio *i*
gwrthwynebus *i*
gwybod *am, wrth, ar*
gwylio *tros*
—— *rhag*

Heddychu *â*
helaethu *ar*

hiraethu *am*
hug *ar, tros*
hyderu *ar, yn, mewn*
hyderus *yn, mewn*
hysbysu *i*

Iawn *tros*
iawn *am*

Lladd *ar*
llawenychu *yn, mewn*
llefain *ar*
llefaru *wrth*
—— *am*
llenwi *â, o*
lles *i*
llidio *wrth*
lliw *ar*
lluddias *i*
llwyddo *i*
llwyddiant *i, ar*
llwythog *o*
llywodraethu *ar*

Maddeu *i*
maddeuant *o*
—— *am*
marchnatta *â*
math *ar, o*
meddwi *ar*
meddwl *am*
meddyginiaethu *rhag*
mwydo *â*
myfyrio *ar, yn*
myned *â (to take)*
—— *yn (to become)*

*Nesau at, i*

newid *i*
—— *am*
niwaid *i*
noddfa *i*
—— *rhag*

Ofni *rhag*
offrymu *i*
ordeinio *i*

Pallu *â*
—— *i*
—— *am*
parod *i*
parod *erbyn*
parotoi *i*
peidio *â (cease from)*
peri *i*
pellhau *oddi wrth*
perthyn *i*
porthi *â*
prawf *o*
—— *ar*
priodol *i*
pris *ar*
prynu *gan*
prysuro *i*

Rhaid *i*
—— *wrth*
rhagori *ar*
rheswm *am*
rhuthro *ar, i*
rhwymau *ar*
rhwymo *wrth*
—— *â*
rhyfeddu *wrth* (nid *at)*
rhyfela *â*

rhyfela *yn erbyn*

Sathru *ar*
seilio *ar*
serch *ar*
sôn *am*
sori *wrth*
sylwi *ar*
synu *wrth* (nid *at*)

Taenellu *ar*
taer *ar*
talu *i*
—— *am*
taraw *wrth*
taw *ar*
tewi *â*
tebygu *i*
terfynu *ar*
tirion *wrth*
traddodi *i*
traethu *i*
—— *am*
—— *ar*
teilwng *o*
—— *i*
tosturio *wrth*
tramgwyddo *wrth*
troi *yn*
trugarhau *wrth*
troseddu *yn erbyn*
tuchan *yn erbyn*
tyngu *wrth*
—— *i*
tyner *wrth*
tystiolaethu *i*, *wrth*
—— *am*
—— *yn erbyn*

Ufuddhau *i*
undeb *â*
undeb *rhwng*

Wylo *am*
—— *tros*

Ymadael *â*, *o*
ymaflyd *yn*, *mewn*
ymannog *i*
ymarhous *wrth*
ymattal *oddi wrth*
ymbalfalu *am*
ymbil *â*
ymborthi *ar*
ymchwelyd *at*
—— *ar*
ymdrybaeddu *yn*, *mewn*
ymddangos *i*
—— *yn*
ymddarostwng *i*
ymddattod *oddi wrth*
ymddial *ar*
ymddiried *yn*
ymegnio *i*
ymfawrygu *yn erbyn*
ymfyddino *yn erbyn*
ymffrostio *yn*, *mewn*
ymgadw *rhag*
ymosod *ar*
ymgrymu *i*
ymguddio *rhag*
ymgyfodi *yn erbyn*
ymgysuro *yn*, *mewn*
ymhoffi *yn*, *mewn*
ymhyfrydu *yn*, *mewn*
ymlynu *wrth*
ymogelyd *rhag*

ymofyn *â*
—— *am*
ymroddi *i*
ymwadu *â*
ymwasgu *â*, *at*
ymweled *â*
ymwerthu *i*
ymwrthod *â*
ymysgwyd *oddi wrth*
ynfydu *ar*
ysgafnhau *ar*
ysgaru *â*, *oddi wrth*
—— *rhwng*
ysgrifenu *ar*
—— *yn*, *mewn*
—— *at*

**310.** ENGHREIFFTIAU.

Achubais y *blaen ar* fy ngwrthwynebwr.
Yr hwn a'm *hachubodd o* grafangc y llew, ac *o* balf yr arth, efe a'm *hachub o* law y Ffilistiad hwn.
*Achubant* di *oddi wrth* y pethau a *ddeuant arnat.*
Ond Macsen—yn awr, wedi ymgaledu yn ei ddrwg, oedd â'i *lygaid ar* bethau uwch nag *achub* ei wlad *rhag* y Ffictiaid gormesol.
Nac *achwyn ar* was *wrth* ei feistr.
Rhanwyd i bob un megys yr oedd *angen arno.*
*Angenrhaid* oedd *i* mi *ysgrifenu atoch.*
Mi a *adwaenwn* y mab *wrth* ei lygaid mol-glafaidd.
Mae drws dy fforest di, O! wlad y Brytaniaid, yn *agored i*'r eirias dân.
Chwi a fyddwch *arferol*, Hieronymus Bignonius, *o ymofyn â* mi yn fynych.
Gan fod cymmaint dy *awydd i* weled cwrs y byd bach, ces *orchymyn i roi i* ti *olwg arno*, fel y gwelit dy wallgof yn *anfoddloni i*'th ystâd a'th wlad dy hun.
Oni wyddost fod genyf *awdurdod i*'th groeshoelio?
Ni byddai i ti ddim *awdurdod arnaf* fi, oni bai ei fod wedi ei *roddi i* ti oddi uchod.
A hwy a *amneidiasant ar* eu cyfeillion.
Pa beth a *attebaf i*'r hwn a'm hanfonodd?
O! *atteb tros* fy meiau.
A phan oedd *anhawdd gan* Ffaro ein gollwng.
Nid oes dim yn *anhawdd i* ti.
Eu penau yn *berwi gan* ddiod a dwndwr.
*Blinais ar* fy einioes, o herwydd merched Heth.
Nid oes dim *blinder arnaf* fi.
*Blin gan* ddyn gael ei ddiddymu.
*Y mae*'r feinir â'i *bryd ar* ei fonedd a'i fawredd ef.
*Fe'i llwyr foddlonwyd yn* ei fab.

Y mae hi yn eithaf *boddlawn ar* ei sefyllfa.
Dengys hyn na ddylid *barnu* pawb *wrth* y golwg.
Dechreuais ammheu fy nghymdeithion wrth eu gwaith yn gwrthuno, ac yn *cuchio arnaf.*
Nid *cymmwys i'r* ffol anrhydedd.
Mae yn amryw fanau yn yr America, sef yn Cuba, Mechoacana, a Nicaragua, *goffadwriaeth* hyd heddyw *am* y diluw, a'r creaduriaid a *gadwyd rhag* boddi.
Ni *chait* ti *ganddo*, ond trwy ffafr fawr, un cipedrychiad.
Pa beth a rydd dyn yn *gyfnewid am* ei enaid?
Canfyddid y llencyn gwridgoch yn ymlusgo o'r tu ol i'r berth i *glustfeinio arnynt* yn *siarad am* eu cariadau.
Nid oedd dim llawer iawn o achos *canlyn arnynt,* i'w perswadio.
Dod *genad i* mi i *sôn* yn ddifyr *am* fy ngwlad.
Nid yw efe yn *ceisio genyt* ddim, ond y peth sydd dda ar dy les dy hunan.
Mae rheswm arall o *garennydd i* hwn.
A *gelaf* fi *rhag* Abraham yr hyn a wnaf?
Na *chydsynia âg* ef, ac na *chela arno.*
*Claf* ydwyf fi *o* gariad.
Dy dywysogion sydd yn *gyfranogion â* lladron.
Gan fod y plant yn *gyfranogion o* gig a gwaed, yntau hefyd a fu *gyfranog* o'r un pethau.
O *chyfarfyddi â* neb, na *chyfarch iddo.*
Beth a *gyffelybaf i* ti, O! ferch Caersalem? Beth a *gystadlaf â* thi?
Dos etto, câr wraig yn ol *cariad* yr Arglwydd *ar* feibion Israel.
O *gariad ar* fy enaid y *gwaredaist* ef *o* bwll llygredigaeth.
Ni ddylid rhoi dim *coel arno.*
Y mae yn *gyfyng* iawn *arnaf* fi.
Mi a *gyfyngaf ar* Ariel.
Na *chenfigena wrth* y rhai a wnant anwiredd.
O'i *gas arnynt* y dug efe hwynt allan.
*Cas gan* ei enaid ef y drygionus.
Buost erioed yn *gas wrthi.*
Pob un oedd *gyfarwydd ar* offer cerdd.
*Hoff gan* Dduw, a *chymmeradwy gan* ddynion.
*Cadw arnat* rhag anghofio yr Arglwydd dy Dduw.
Yr oedd pob llusern yn nghrôg *wrth linyn.*
Efe a *gymmhellodd arno* ei chymmeryd.
*Cau* y drws *arnat,* ac *ar* dy feibion.
*Chwant i'm* dattod. *Chwantau am* bethau eraill.

Felly y mae llwybrau y rhai oll sydd *chwannog i* elw.
Efe a *chwardd am ben* profedigaeth y diniwaid.
A'r saethyddion fuont *chwerw wrtho* ef.
Byth er hyny, ni *ddaeth* hi *ar fy nghyfyl.*
Nid oes *dyben ar* wneuthur llyfrau lawer.
Gan *ddygwydd i* mi weled y cyffelyb ddadleuon mewn brawdle arall.
Fe *ddamweiniodd i* mi weled un o'r cyllyll hirion hyny.
Eu *dirmyg ar* foneddig a gwreng, a *gyffrodd* y trigolion *i* fwrw ymaith iau eu caethiwed.
*Darfu am* y cyfiawn.
*Dysgedig yn* nghaniadau yr Arglwydd.
I'w *dysgu ar* lyfr, ac *yn* iaith y Caldeaid.
*Dysg i* mi dy ffordd. *Dysgwch genyf.*
Efe a *ddechreuodd ar* yr ysgrythyr hono.
A *ddaethost* ti *âg* anrheg iddo?
Y tlawd a *ddidolir oddi wrth* ei gymmydog.
A *ddarpar* efe gig *i*'w bobl?
Ei holl dŷ hi a *ddilledir âg* ysgarlad.
Clywaf gan yr holl bobl hyn *ddrygair i* chwi.
Os *echwyni* arian *i*'m pobl, na fydd fel ocrwr iddynt.
*Edryched ar* yr enfys, a *dianged rhag* y tân sydd ar ddyfod.
Siopwyr (neu siarpwyr) a *elwant ar* angen.
Ychydig a *ennillodd* yntau *ar* yr orchest hono.
A'r un peth hefyd a *edliwiodd* y lladron *iddo.*
*Esmwythasoch ar* fy ysbryd i.
Y mae *eisiau* a *newyn ar* y llewod ieuaingc.
*Gwybûm wrth* eu hudfa mai dynion oeddynt oll.
Ni *wyddai* neb *arno* ei hun ddim a haeddai y fath letty.
Os hyny a *wneit â*'th aelodau, da dy fod hebddynt.
Elusenau a *adawsit at* ysgolion.
Megys y *gwnaethant â* nyni, felly y *gwnawn* ninnau *â* hwynthwy.
Pan gaffo y cacwn letty yn nghwch y gwenyn, *gorfydd ar* wir drigolion y cwch *roddi* lle *i*'r pryf gormesol.
*Wrth* ba enw y mae Moesen yn *galw* yr arch?
Nid wyf mwyach yn eich *galw yn* weision.
Yna y dechreuwyd *galw ar* enw yr Arglwydd.
*Galwaf am* yr ŷd.
*Geilw* hwynt oll *wrth* [neu *erbyn*] eu henwau.
*Gofynaf i* ti *gael i* mi Olwen yn wraig, ac yr wyf yn *gofyn hyn gan* dy filwyr hefyd.
*Gochel rhag* iddo dy niweidio.

Y newyn, yr hwn yr ydych yn *gofalu rhagddo.*
*Gofelwch ar* gwblhau eich gorchwyl.
Na *ofelwch* gan hyny, *tros* dranoeth; canys tranoeth a *ofala am* ei bethau ei hun.
*Gwisgir* dy gaseion *â* chywilydd.
Gwr, yn wir, ni ddylai *wisgo am* ei ben.
*Gollyngaf* fy nghŵyn *tros gof.*
Os tân a dyr allan, ac a gaiff *afael mewn* drain.
*Gâd i* mi gael *gafael ar* y colofnau.
Y mae hi yn dra *gwahanol i*'r lleill.
*Gwilia arnat* dy hun.
Pa ham yr wyt yn *gwarafun i*'r cigfrain *fyned ar ol* eu meddyliau.
Ac oni *heddycha* hi *â* thi, yna *gwarchau arni.*
Gan yr ystafellydd yr oedd *hawl i*'w hen wrthbanau.
Rhoddant bob un *iawn am* ei einioes *i*'r Arglwydd.
Yr annuwiol a roddir yn *iawn tros* y cyfiawn.
Yr ydych yn *lladd arnaf* yn ddibaid.
Nid oes *lliw* iach *ar* neb o honynt.
A oes *llwyddiant iddo* ef?
Nid oes dim *llwyddiant ar* ei ymdrechion.
Am bob *math ar* gamwedd.
Y mae llawer *math o* gathod.
Pan *fethodd genyf* ddyfeisio beth oedd hi, gofynais.
*Methais â* dal y lleidr.
Moesen, wedi *myned yn* fawr, a wrthododd ei *alw yn* fab merch Ffaro.
Hi a *aeth âg* ef i'r babell.
Yn ddiau, yr ydych wedi *meddwi ar* eich baban.
Na fydd yn mysg y rhai sydd yn *meddwi ar* win.
Na *feddwer* chwi *gan* win, yn yr hwn y mae gormodedd, eithr *llanwer* chwi *â*'r Ysbryd.
*Llanw* sachau y gwŷr *o* fwyd.
Cymmer wisg y gwr a *fachnïo tros* estron.
Na fydd un o'r rhai a *fachnïant am* ddyled.
Na *faddeuer i* neb *am* hyn.
Y mae genyf fi *faddeuant o*'m holl bechodau, tan law y Pab ei hun.
*Menodd* hyny gymmaint *ar* bawb, fel prin yr oedd un yn gallu *ymattal rhag* wylo.
Pa fodd y mae i ddyn feddwl, heb gam-*feddwl am* y pethau hyn?
Ni *phalla i*'r offeiriaid ŵr ger fy mron i.
*Pallodd* y teithwyr *â myned rhag*ddynt.

*Pryn gan* dy gymmydog.
Byddwch *barod* bob amser *i atteb i* bob un a *ofyno i* chwi *reswm am* y gobaith sydd ynoch.
A chan *ryfeddu wrth* ei atteb ef, hwy a *dawsant â* sôn.
Y bara gosod, yr hwn nid oedd *rydd iddo* ei fwyta, nac *i'r* rhai oedd gyd âg ef.
A pha beth y *rhyngai* hwn *fodd i'w* feistr?
Ni byddi *sicr o'th* einioes.
Y torfeydd a *synasant wrth* ei ddysgeidiaeth ef.
Dynion â'u *serch arnynt* eu hunain.
Gan ddarfod i chwi *daraw wrth* arglwyddes mor hawddgar odidog a hon.
Pa'm yr wyt, O ddyn! yn *taraw gyd â'r* golomen?
Byth ni ddaw *tor ar* ei newyn ef.
Ni *thoraf ar* eich ymddyddan.
*Tewch â'ch* dwndwr celwyddog.
Nid oes dim *taw arni.*
Rhag bod neb o honoch yn *debyg i* fod yn ol.
Pwy sydd *deilwng i* agoryd y llyfr?
Y rhai nid oedd y byd yn *deilwng o* honynt.
Hi a *dramgwyddodd wrth* ei chyfaill.
*Tröer* eich chwerthin *yn* alar.
Ymboenasant, ond ni *thycia iddynt.*
Fe *orfyddai ar* y perchenogion *ymadael â* hwynt.
*Ymadawed oddi wrth* anghyfiawnder.
Yn erchi *ymattal oddi wrth* fwydydd.
O bydd genym ymborth a dillad, *ymfoddlonwn ar* hyny.
*Ymfoddlona yn* ei chariad hi yn wastadol.
*Ymddialaf ar* fy ngelynion.
Os efe a *ymegnia i* wneuthur fy ngorchymynion.
Efe a *ymlŷn wrth* y naill, ac a esgeulusa y llall.
Yr hwn o'i wirfodd a *ymroddodd i'r* Arglwydd.
Pob un sydd yn *ymroi i* gybydd-dod.
Ar y gair, fe a *ymysgydwodd oddi wrthynt* oll.
Nid [oes] *ymaelodi mewn* un eglwys, oni bydd ysbryd y Pen yn rheoli.
A Saul a geisiodd *ymwasgu â'r* dysgyblion.
*Ymserchodd yn* meibion Assur.
Felly yr *ysgafnhei arnat* dy hun.
Dos i ystrŷd Balchder, ac *ymorol am* ŵr trahaus.
Y mae e'n eu synu rhag *ymwrando â'u* perygl.
Myned yr ym ni ein dau i *ymweled â'n* brawd Angeu.
*Oni weli di y* prenau yn tyfu heb *ymglywed â'r* bywyd *sydd mewn* anifeiliaid?

Conan ni fynai *ymgyfathrachu â* neb, ond *â*'i genedl ei hun. Am hyny efe a *anfonodd i* Frydain *am* wragedd; a *danfonwgd iddo* un fil ar ddeg.

Mi'm clywn yn *ymryddhau oddi wrth* bob rhan o'r corff.

> *I'w* fedd *anrhydedd* fyddo—sidan-wellt
> *Ymestynwch drosto*—
> Awelon, *dowch i* wylo
> *I'r* fan wael, er ei fwyn o.

## Priodebion *(idioms)* seiliedig ar Ragddodiaid.

**311.** (1.) *Gan, genyf, &c.*, gyda'r mynegair *bod.*

*Meddu* ydyw ystyr cyffredin *bod gan.* Y mae hi yn arferiad gan y Cymry, er ys talm bellach, ddodi enw y peth a feddir, pan y byddo yn anmhennodol, yn hytrach ar ol y rhagddodiad, nag o'i flaen; megys, 'Y mae genyf arian.' Eithr, pan y byddo'r enw yn bennodol, fe'i dodir o flaen y rhagddodiad; megys, 'Y mae yr arian genyf.' Gwybydder mai *sylfon* yr ymadrodd ydyw 'arian,' ac nid gwrthddrych y mynegiad.

Rhwng y mynegair a'r rhagddodiad yr arferir cyfenw, mewn ymadrodd na wrthdrowyd mo hono, er mwyn arbwys; megys y gwelir isod:—

| | | |
|---|---|---|
| Y mae | yn hyfryd, yn llawen, yn dda,<br>yn well, yn gystal, yn ddrwg,<br>yn waeth, yn edifar, yn arw,<br>yn gâs, yn ffiaidd, yn gywilyddus,<br>yn syn, yn rhyfedd, yn chwith,<br>yn sicr, yn ammheus, yn gofus,<br>yn hwyr, yn wych, yn hoff,<br>yn ddifatter, yn ddiogel, yn fawr,<br>yn fychan, yn flin, yn hawdd,<br>yn anhawdd, yn ddiammheu,<br>yn debyg, yn ormod, yn wiw,<br>yn werthfawr, yn ddim, yn hir, | gan, genyf, &c. |

**312.** (2.) *Ar, arnaf, &c.*, gyd â'r mynegair *bod.*

Dodir yr enw rhwng y mynegair a'r rhagddodiad, mewn brawddeg naturiol ei rhediad. Eithr y mae yn rhydd i un gyfleu y geiriau yn wahanol, er mwyn cyferbyniaeth.

Y mae { cywilydd, ofn, chwant, blys, eisiau, newyn, clefyd, clwyf, pruddglwyf, nychdod, gofid, diogi, brys, taro, amserau, gwall, coll, diffyg, gofal, dyled, arian, ceiniog, &c., gwerth, gorfod, ysfa, yr annwyd, peswch, y pâs, y ddannodd, crygni, cloffni, attal (dywedyd), bai, llu, lliw, llwydd, aflwydd, adduned, } ar, arnaf, &c.

313. *Ar*—mewn ymadroddion amgylchiadol.

Ar ei well, ar ei waeth, ar ei oreu, ar ei waethaf, ar ei ben, ar ei ben ei hun, ar les ei iechyd, ar ei les ei hun, ar ei ennill, ar ei golled, ar ben ei ddigon, ar ei eistedd, ar ei daith, ar flaen ei dafod, ar flaen ei fysedd, ar ei waith, ar ei amcan, ar ei ugain, ar ei lŵ, ar ei lawgair, ar ei law, ar ei draul ei hun, ar gefn y wlad, ar dafod leferydd, ar lafar, ar glyw, ar gyhoedd, ar led, ar daith, ar grwydr, ar gyfeiliorn, ar ddisperod, ar goll, ar wasgar, ar wahân, ar led, ar draws, ar groes, ar gil, ar encil, ar gylch, ar goel, ar lôg, ar gam, (rhoi) ar ddeall, ar ddrwg, ar ddamwain, ar y cyntaf, ar y diwedd, ar unwaith, ar ddwywaith, ar amserau, ar fyrder, ar frys, ar ben, ar y gair, ar darawiad amrant, ar garlam, ar y blaen, ar ol, ar y wyneb, ar giniaw, ar derm, ar fedr, ar fachlud, ar ddybenu.

# CHWANEGIAD.

## Y FFORDD I GYMREIGIO GEIRIAU ESTRONOL.

PAN oedd y llen olaf o'r llyfryn hwn ar gael ei hystrydebu, dywedodd Mr. CEIRIOG HUGHES yn "ngholofn farddol" y "*Faner,*" wrth feirniadu gwaith rhyw ohebydd, y dylai fod pennod yn y Grammadegau Cymreig ar "Gymreigiad geiriau Seisnig." Ychydig iawn sydd o eiriau Seisnig pur, sef geiriau Sacsonaidd, nad oes geiriau Cymreig cynnefin ar eu cyfer; ond rhaid addef fod yn anhawdd i Gymry gaffael na saernïo geiriau cwbl Gymreig i gyfatteb i liaws o'r geiriau a gymmerodd y Saeson o'r Roeg, y Lladineg, y Ffrancaeg, &c. Os gèllir cael o hyd i eiriau cymmeradwy yn yr hen ysgrifeniadau Cymreig, neu os medrir ffurfio rhai llyfn a dealladwy, arferer hwynt yn anad pob rhyw air alltud. Er cymmaint o adfrydu sydd ar "eiriau gwneuthur" ein geiriaduron, yr wyf yn meddwl yr eddyf estron diragfarn fod y rhan fwyaf o honynt yn llai dybryd i'r glust, ac yr eddyf Cymro cyffredin eu bod yn fwy dealladwy na'r geiriau Groegaidd a Lladinaidd y safant am danynt. Dylai geiriau, yn enwedig geiriau gwyddorol, esbonio eu hunain, fel y gallo darllenwr cyffredin ganfod eu hystyr heb ymgynghori yn fynych â geiriadur. A chan fod yr enwau Cymreig ar y gwyddorau, fel rheol, yn gyfansoddedig, neu ynte yn darddedig o eiriau bychain cynnefin, y mae yn ddiddadl y synia Cymro eu bod hwy yn fwy ymesboniol na geiriau Groeg a Lladin. Ond y mae mor sicr a hyny nad yw llawer o eiriau, yn enwedig enwau ar offerynau a sylweddau fferyllol, yn ddim amgen nag arwyddion neu nodau—ac na fyddai gwybod eu hystyr yn ddim help i ddyn wybod pa beth a olygant. Cyfaddasu, ac nid cyfieithu y cyfryw eiriau y bydd agos bob cenedl, ond y Cymry. Y mae yn ddiddadl fod rhai ugeiniau o'n geiriau Cymreig 'gwneuthur' yn anamlwg, neu ynte yn anmhennodol eu hystyr. Y mae ugeiniau eraill yn eithaf amlwg eu hystyr; ond y maent naill ai yn afrywiog, neu ynte yn rhy hir; a hyny gan fynychaf o achos eu bod yn gyfieithiad o wahanol ranau geiriau estronol, yn hytrach nag o'u hystyr yn eu crynswth. Gorfydd i ysgrifenwyr a siaradwyr, os mynant fod yn fuddiol, wrthod y cyfryw eiriau rywbryd; a gwell yw eu gwrthod yn fuan nag yn hwyr.

Pe byddai mor gâs gan y genhedlaeth hon o Gymry arfer *ymadroddion* estronol ag ydyw ganddi arfer geiriau estronol,

byddai llawer mwy o ddarllen Cymraeg yn fuan nag y sydd yn awr. Pe gollyngid miloedd o estron-eiriau i'r Gymraeg, ni newidient nemawr, ac ni niweidient ddim arni. Ond y mae pob peth estronol a ddygir i *rammadeg* yr iaith, yn ei newid hi, ac yn ei niweidio hefyd. Y mae hen ieithoedd tir Groeg a'r Ital yn eiddo cyhoeddus er ys talm bellach; ac nid oes achos i ni, Gymry, fod yn fwy cymmhenllyd na'n hynafiaid yn y wlad hon, a'n cyfoeswyr mewn gwledydd eraill. Er hyny, na wneled neb gynghor CEIRIOG o ddiogi—ond o anghenrheidrwydd yn unig, ac wrth farn. Dygodd cyfieithwyr esgeulus yr Allmaen, yn yr oes o'r blaen, gynnifer o eiriau Ffrengig i mewn i'w hiaith, a hyny yn eu ffurf Ffrangcaidd, fel yr aeth dysgyblion goreu LESSING i deimlo ei bod yn ddyledswydd arnynt ymegnïo i fwrw yr estron-eiriau mwyaf gwrthun ac afreidiol allan o'u hiaith.

Ceisiodd EDEYRN DAFOD AUR hefyd ddwyn i mewn i'r Gymraeg y fath dermau a *Superlliaid, Nominadio, Genedio, Dadio, Achussiaid, Aplliaid,* a *Neawdr* neu *Neodr*; ond yr oeddynt yn rhy lymrig i ddenu neb i'w harfer. Parhaed ysgrifenwyr a siaradwyr Cymreig i wrthod geiriau estronol cyhyd ag y byddo geiriau Cymreig gwiw a dealladwy ar gael.

Gobeithio yr wyf y bydd i'r rheolau brâs sydd yn canlyn argyhoeddi llenorion ieuaingc fod yn rhaid iddynt wrth gymmaint o farn i fabwyso geiriau alltud ag i lunio geiriau hollol Gymreig.

RHEOLAU CYFFREDINOL.

1. Nac arferer *j, k, q, v, x, z,* yn nechreu, na diwedd, na chanol geiriau, oddi gerth mewn enwau priod estronol.

Eithr y mae hi yn arfer gan agos bob cenedl gyfaddasu enwau priod clasurol ac ysgrythyrol i'w thafodiaith ei hun. Dylasai awdwyr y cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau, naill ai gadael enwau personau a lleoedd yn eu gwêdd gyntefig, neu ynte eu Cymreigio, er mwyn eu cyfaddasu i lygad, clust, a genau Cymro. Ni wnaethant na'r naill beth na'r llall â lliaws o honynt; ond eu trosi a wnaethant i'r Gymraeg yn eu gwedd Seisnig.

Am enwau sydd heb fod yn hynod mewn hanesiaeth, bydd dynion dysgedig yn eu llythyrenu ac yn eu llefaru hwynt yr un ffunud ag y gwna'r cenhedloedd a'u piau. Bydd Seison annysgedig, a Chymry crachddysgedig, yn llafaru enwau tramor—ïe a Chymreig hefyd—fel pe baent Seisnig!

2. Tröer *j* yn *i*, *ju* ac *iu* yn *iw*, *k* yn *c*, *ui* yn *wi*, *v* yn *f*, a *z* yn *s*.

Buddiol, yn ddiau, a fyddai arfer *j* (Ellmynig) yn lle *i*, pan y byddo hi yn osain. Ond gan fod darllenwyr Cymreig mor chwannog i'w seinio fel y *j* Seisnig, gwell gadael i'r *i* lenwi swydd llafarog a gosain hefyd.

3. Tröer *ph* estronol yn *ff*; ac nac arferer *ph*, oddigerth pan y byddo yn un o ffurfiau tarddedig *p*. *F*, sef *ff* Gymreig, a erfyr yr Yspaenwyr am *ph* estronol.

4. *Rhodder i* bob llythyren arall sain Gymreig. Ond os ceir *achos i newid* y sain, newidier y llythyren hefyd.

5. Os un o'r llythyrenau tarddedig a fydd yn nechreu gair estronol, arferer llythyren gyntefig yn ei lle.

6. Gellir, er mwyn rhugledd sain, ac iawn aceniad, droi llythyren gyntefig a fyddo yn nghanol gair, yn llythyren darddedig.

7. Hyd y mae modd, na chwaneger terfyniad Cymraeg at derfyniad estronol o'r unrhyw ystyr.

8. Er hyny, na newidier ac na fyrhaer cymmaint ar air estronol fel ag i'w ddyeithrio.

Eithr os genau y Cymry, trwy ei fynych draethu, a wnel hyny iddo, nid gwaeth ; o herwydd erbyn y gwneler hyny, bydd ei ystyr yn gwbl hysbys.

9. Na newidier gwedd gair tramor, yn unig er mwyn dysgu darllenwyr Cymreig i'w lefaru yn ol dull y Saeson, neu yn ol dull tybiedig yr hynafiaid. Ond seinier *au* (er enghraifft) fel *au* yn 'aur,' ac nid yn *o*, nac yn *aw;* a seinier *eu* hefyd fel *eu* yn 'euraidd,' ac nid yn *iw*, nac yn *ew*. Ysgrifener 'Europa' yn '*Europ*,' ac nid yn 'Iwrop,' nac yn 'Ewrob ;' a llafarer ef yn *Gymreigaidd*.

## I. Y LLYTHYRENAU DECHREUOL.

### C, ag G.

¶ Seinier *c* ac *g* yn galed, yn gyffredin ; megys,

cedar (*Gr.* kedros)—cedr
cingula (gair Lladinig)—cengl
cypress (*Ll.* cupressus, *Gr.* kyparissos)—cypreswydd
gem (*Ll.* gemma)—gem
genitive (*Ll.* genetivus)—genidol.

¶ Na ddilyner y Saeson yn wastadol trwy feddalu *c* ac *g* o flaen *e*, *i*, ac *y;* eithr arferer *s* yn eu lle, pan y byddo persain a hen arfer yn gofyn hyny ; megys,

cigar—sigar
cymbal—symbal
ginger—sinsur
Germania—Sermania.

Tröir *g*, ac yn enwedig *ge*, yn *si*, mewn ychydig eiriau ; megys, Geoffry —Sieffri ; George—Siôr.

### CH.

¶ Tröer *ch* yn gyffredin yn *c*, ac weithiau yn *s* o flaen *i*, ac yn *si* o flaen *a*.

Ambell air a ddaeth trwy, neu o'r Ffrangcaeg, sydd raid troi ei *ch* ddechreuol yn *si* ac *s*. Gellir troi agos bob *ch* Roegaidd (—$\chi$) yn *c*.

chapel (*Ll.* capella)—capel
chest (*Gr.* kiste)—cist
cherub (*Heb.* kerub)—cerub
christian (*Gr.* christianos)—cristion
*chasuble* (*Ll.* casubula)—casubl.

chicory (*Ll.* cichorium, *Ff.* chicorée)—sicor
chimney (*Ll.* caminus, *Ff.* cheminée)—simnai
China (*Ff.* la Chine)—Sina *neu* Sin.
chamber (*Ll.* camera, *Ff.* chambre)—siambr
channel (*Ll.* canalis)—sianel
charge (*Ll.* carrus, *Ff.* charge)—siars.

## EX.

¶ Tröer *ex* yn *es*. Eithr gellir ambell waith ei droi yn *ecs*; megys,

example (*Ll.* exemplum)—esampl
excommunicate (o'r *Ll.*)—esgymmuno
excuse (*Ll.* excuso)—esguso
executor (*Ll.*)—esgutor, *neu* ysgutor
extend (*Ll.* extendo)—estyn
exscribo (*Ll.*)—esgrifo, *neu* ysgrifenu
extraneus (*Ll.*)—estron
Exodus (*Gr.* Exodos, *Ff.* Exode)—Ecsod
exogen (o'r *Roeg* trwy y *Ff.* exogene)—ecsogen.

## F.

¶ Tröer *f* yn *ff*; megys,

faith (*Ll.* fides)—ffydd
false (*Ll.* falsus)—ffals
farthing (*A. S.* feorthling)—ffyrling
favour (*Ll.* favor)—ffafr
flame (*Ll.* flamma)—fflam.

## JU.

¶ Tröer *ju* yn *iw*, gan fod yn anhawdd seinio *u* ar ol *i*; megys,

jubilee (*Heb.* yobel)—iwbil
Julius—Iwl
Justinus—Iwstyn.

Tröir *ju* mewn ychydig eiriau yn *su*; megys, Judas—Suddas; ac mewn ychydig eraill, bwrir ymaith y *j* a safo o flaen *u*; megys, justice—ustus.

## K.

¶ Tröer *k* yn *c* yn mhob man; megys,

kick [o darddiad Cymreig]—cic
kiss (*Sans.* kus)—cusan
knock (*A. S.* cnocian)—cnocio.

## L, ac R.

¶ Er nad yw *ll* ac *rh* yn llythyrenau gwreiddiol; ac er fod yr arferiad o honynt yn lled afreolaidd, etto gwell, ond odid, a fyddai eu harfer yn lle *l* ac *r* yn nechreu geiriau mabwysiedig; megys,

lad, lass [*Cymr.* medd rhai]—llawd, llodes
legion (*Ll.* legio)—lleng
leopard (*Gr.* leopardos)—llewpart
lily (*Ll.* lilium)—lili
lemon (*Pers.* limon)—llemwn, *neu* llimon.

[Gellid ysgoi afreoleidd-dra ar y naill law, a dybryd sain ar y llaw arall, *pe dodid y rhagsill e* o flaen *l*; megys, elili, elimon, elafand, elefain, *elimbo.]*

rapə (*Ll.* rapio)—rheibio
rasher [o'r *Gymr.*]—rhasg
rank (*Ff.* rang)—rheng
reason (*Ll.* ratio, *Ff.* raison)—rheswm
rim (*A. S.* rima)—rhim, rhimyn
roll (*Ell.* rollen)—rholio
red (*Sans.* rohita, *Gr.* eruthros)—rhudd
Reginald—Rheinallt.
Richard—Rhicert.

## PN, PS, PT, &c.

¶ Tyner ymaith y llythyren flaenaf o gyfuniadau anghyd gerdd o fath y rhai uchod; megys,

Pneumatics (*Gr.* Pneumatikos)—Neumateg
Psalm (*Gr.* Psalmos)—Salm
Ptolemaic -Tolemäig.

## QU.

¶ Tröer *qu* weithiau yn *chw*, ac weithiau yn *cw;* megys,

quart (*Ll.* quartus)—chwart
quarter (*Ll.* quartarius, *Ff.* quartier)—chwarter
quarry (*hèn Ff.* quarière)—chwarel
quack (*Ll.* coaxo)—cwac
quarrel (*Ll.* querela)—cweryl
question (*Ll.* quæstio)—cwestiwn'
quill (*Gr.* koilos, *Ell.* kiel)—cwilsyn
quire (*hên Ff.* quaier)—cwîr.

Ceir *c* weithiau mewn gair Cymraeg, lle y byddo *qu* mewn gair estronol; megys, quay—cae; quoit—coetan.

## SC, ac SCH.

¶ Tröer *sc* ac *sch* yn *ysc. Ysg* a geir yn yr enghreifftiau: ond gwell arfer *ysc* wrth fabwyso geiriau newyddion, rhag dyeithrio gormod ar y geiriau, cyn iddynt fyned yn gynnefin. Heblaw hyny, y mae *s* ac *c* yn cydweddu yn well o ran sain; megys,

scald (*Ll.* excaldo)—ysgaldio, *neu* yscaldio
scarlet (*Pers.* sakarlat)—ysgarlad
scorpion (*Gr.* skorpios)—yscorpion
screech [gair *Celtig*]—ysgrech
school (*Ll.* schola)—ysgol
schooner (*Isell.*)—ysgŵner.

Nid yw y rheol hon yn golygu yr *sch* mewn geiriau Ellmynig; gan fod y llythyrenau hyn, yn gyffredin, yn gyttrasol, ac yn gyseiniol â'r *sh* yn nechreu geiriau Seisnig. Edrycher, gan hyny, tan 'SH.'

## SH.

¶ Tröer *sh* yn *si* o flaen *a* ac *o*, ac yn *s* o flaen *e* ac *i*.

Nid oes angen Cymreigio un gair Seisnig a ddechreuo âg *sh*, oddigerth un neu ddau, fe allai. Gellir troi pob *sh* Hebrëig ac Arabig yn *s*, oddigerth yn y gair 'Shibboleth,' yr hwn a gyferbynir yn y Beibl â 'Sibboleth.'

sham (*Ell.* scham, nen *Cymr.* siom)—siam
shop (*Ell.* schoppen, *hen Ff.* eschoppe)—siop
shekel (*Heb.* shakal)—sicl, *neu* secl
Shekinah (*Heb.* Shakan)--Secina
Sharon—Saron.

## SL.

¶ Tröer *sl* yn *ysl;* megys,

slack (llac, *Ll.* laxus)—yslac
slavonic—yslafonig, *neu* ysclafonig
slough (*Celt. A, S.* slog)—yslwch
smack (*A. S.* smæc)—ysmac.

## SP.

¶ Tröer *sp* yn *ysp,* ac *sph* yn *ysff;* megys,

spigot (*Ll.* spica, *Cymr.* yspig)—yspigawd
spirit (*Ll.* spiritus)—ysbryd
spoil (*Ll.* spolium)—yspail
sponge (*hen Ff.* esponge)—yspwng
sphere (*Gr.* sphaira)—ysffêr.

## ST.

¶ Tröer *st* yn *yst;* megys,

stable (*Ll.* stabulum, *hên Ff.* estable)—ystabl
stella [gair *Lladinig* am seren]—ystwyll
stool (*A. S.* stôl)—ystôl
store (*hên Ff.* estoire)—ystôr
street (*Ll.* strata)—ystryd.

## TH.

¶ Tröer *th* yn *t,* neu ynte doder y rhagsill *e* o flaen *th.*

Rhaid cynnal y rheol hon, er rhesymoled ydyw, â rhai enghreil gwneuthur; canys arfer y Cymry hyd yma a fu gadael y llythyren ı nechreu geiriau a gymmerwyd o'r Roeg, &c.

thaw (*Ell.* thauen)—tawdd, toddi
theatre (*Ysp.* teatro)—teatr, *neu* etheatr
thermometer (*Ff.* thermometre)—termometr
thin (*Sans.* tanu, *Ll.* tenuis)—teneu
three (*Sans.* tri, *Ll.* tres)—tri
through (*Sans.* taras)—trwy
thyme (*Ll.* thymum)—tym, *neu* teim.

## V.

¶ Tröer *v* yn gyffredin yn *gw,* weithiau yn *ff,* ac weit yn *m,* neu yn *b;* megys,

vacuum [gair *Lladinig*]—gwâg
vitrum [gair *Lladinig*]—gwydr
vassal (*Ll. isel,* vassalus)—gwas
Venus, Veneris—Gwener
Venice, *neu* Venetia—Gweneth
venom (*Ll.* venenum)—gwenwyn
verus (*Ll.*)—gwir
vinum (*Ll.*)—gwin
viper (*Ll.* vipera)—gwiber
vial (*Gr.* phiale)—ffial, *neu* ffiol
vicar (*Ll.* vicarius)—ficar
vantage (*Ff.* avantage)—mantais
venture—mentro, anturio
verb (*Ll.* verbum)—berf.

W.

¶ Tröer *w* yn *gw;* megys,

wall (*Ll.* vallum)—gwal
wan (*Ll.* vanus)—gwan
wanton (*Cymr.*)—gwantan
warrant (*Ff.* garant)—gwarant
welt (*Cymr.*)—gwald
widow (*Ll.* vidua)—gweddw
wine (*Ll.* vinum)—gwin
worth (*A. S.* weordh)—gwerth.

WH.

¶ Tröer *wh* yn *chw;* megys,

whelp (*A. S.* whelp)—chwelp
whiff—chwiff, chwiffian
Whig—Chwig-iaid
whip—chwip.

X ac Y.

¶ Os rhaid wrth air estronol yn dechreu âg *x* neu *y*, tröer *x* yn *s*, ac *y* yn *i*.

Z.

¶ Tröer *z* yn *s;* megys,

zebra (*Ysp.*)—sebr, *neu* sebra
zenith (*Ar.* senit)—senith
zephyr (*Gr.* zephyros)—sephyr
zero (*Ysp.*)—sero.

II. Y TERFYNIADAU.

¶ Mabwyser bôn gair estronol, naill ai yn enw, neu yn gyfenw, neu ynte yn fynegair Cymraeg; ac yna chwaneger ato yr amrywiol derfyniadau Cymreig, er mwyn ffurfio geiriau tarddedig; megys, 'cred' (enw)—*credens, credence;* credo —*creed;* credu—*credo, credit;* credol—*credent;* credadwy—*credible, credibilis.* Eithr, os bernir y byddai y bôn yn rhy anamlwg yn y ffurfiau tarddedig, cymmerer terfyniad estronol âg iddo lythyren arnodol (*characteristic*) ynghyd â'r bôn; a chwaneger y terfyniadau Cymreig at y terfyniad estronol hwnw; megys, 'soffist' [o *soffos, sophi-stes*]—*sophist;* soffistiaid—*sophists;* soffistaidd—*sophistical,* Gr. *sophistikos;* soffisteiddio—*sophisticate;* soffistaeth—*sophism,* Gr. *sophisma.*

Gofaler na chwaneger terfyniad Cymraeg at derfyniad estronol âg iddo yr un a'r unrhyw ystyr; megys, *soffist-wr,* gan mai person neu weithredydd a olyga *-st,* Gr. *stes.*

Heblaw hyny, gofaler ar chwanegu pob terfyniad Cymraeg at yr un a'r unrhyw ffurf o'r gair estronol; canys os arferir 'soffistaidd' yn gyfenw, ni ddylid arfer 'soffism,' neu 'soffismaeth' yn enw. Parai y cyfryw afreoleidddra niwaid i rammadeg yr iaith. Os arferir y terfyniad *-ist* mewn un ffurf darddedig, yna arferer ef yn mhob ffurf darddedig.

ENGHREIFFTIAU ERAILL.

**aurum (gwreiddair, *aur*)—aur**
**aurarius—eurol**
**auratus—euraid. *neu* euredig**
**aureus—euraidd**

**medicus, &c. (pan yn enw)—meddyg, meddygon**
**medicus, *S*. medical—meddygol, sef *perthynol i feddyg***
**medico, &c., *S*. medicate—† meddygu, neu meddygaethu**
**medicabilis—meddygadwy**
**medicina, *S*. medicine—† meddygaeth**
**medicinalis, *S*. medicinal—meddygaethol, sef *perthynol i feddygaeth*.**

**† Y mae 'meddyginiaeth' a 'meddyginiaethu' yn ffurfiau afreolaidd.**

**paganus, &c., *S*. pagan, (o *pagus*)—pagan, paganiaid**
**paganus, pagan (pan yn gyfenw)—paganol**
**paganish—paganaidd**
**paganise—paganeiddio**
**paganism—paganeidd-dra [ED. SAMUEL], paganiaeth**

**labour, *Ff*. labeur—llafur**
**laboriosus, *S*. laborious—llafurus**
**laboro, &c., *S*. labour—llafurio**
**labourer, labourers—llafuriwr, llafurwyr**
**laboratory—llafurfa**

**periculum, *Ff*. peril—perygl**
**periclitor—peryglu**
**periculosus—peryglus**

**tristis, *Ff*. triste—trist**
**tristiculus—tristaidd**
**tristitia—tristwch, tristyd**
***to become or make sad*—tristáu**
**tristificus—tristaol**

**_Gr_. euangelion } efengyl**
**_Ff_. evangile }**
**_Gr_. euangeliso } efengylu, *ac* efengyleiddio**
**_S_. evangelize }**
**_Gr_. euangelistes } efengylydd, *ac* efengyleiddiwr**
**_S_. evangelist }**
**_S_. evangelization—efengyleiddiad**
**_S_. evangelical—efengylaidd, *neu* efengylig**
**_S_. evangelicism—efengyligaeth, *neu* efengyleiddrwydd**
**evangelicals [enw diarfer]—efengyligwyr**

[Sylwer fod y rheol a roddwyd eisoes yn cynwys fod i ba gyfran bynag a gymmerer o air estronol feddu ystyr cyflawn arno ei hun. Pa un bynag ai at y gwreiddyn, ai at y bôn, ai at gyfran helaethach o'r gair estronol, y chwanegir treigliadau Cymreig, dylid ystyried y gyfran hono yn *air* yn y Gymraeg, er na bydd hwyrach yn air yn yr iaith y cymmerwyd ef o honi; canys anaddas yw cydio terfyniadau wrth ddim nad oes iddo feddwl heb unrhyw derfyniad. Er enghraifft, gan mai at y ffurfiau 'philosoph,' 'philolog,' 'etymolog,' y byddys yn chwanegu terfyniadau Cymreig, dylid eu harfer naill ai yn enwau gwyddorol am *philosophy* (philosophia), *philology* (philologia), *etymology* (etymologia), neu ynte yn enwau personol am *philosopher* (philosophos), *philologist*, *etymologist*.

Os na fynir gwneyd hyny, dylid, er mwyn cyssondeb, gymmeryd y ffurfiau llawnach *philosophist*, *philologist*, ac *etymologist* yn gychwynfëydd. Ond yr ydys yn teimlo fod y fath ffurfiau a *philosophistaidd*, *philosophisteiddio*, *philosophistiaeth* yn ymestyn yn rhy hir. Y maent felly yn ddiau; ond nid ydynt yn hwy na'r ffurfiau cyffredin 'philosophyddol,' 'philosophyddu,' 'philosophyddiaeth.' Erfyr yr Ellmyn y ffurfiau 'philosoph,' 'philolog,' 'etymolog,' yn enwau ar bersonau; ac felly yr erfyr y Ffrancod hefyd y ffurfiau 'philosophe,' 'philologue,' y rhai a seinir yr un ffunud a'r ffurfiau Ellmynig, gan fod yr *e* derfynol yn fud. Gwell, tybygaf fi, a fyddai arfer ffurfiau yn diweddu yn *log*, *nom*, *soph* (*C.* soff), *graph* (*C.* graff), &c., yn enwau ar bethau yn y Gymraeg, gan chwanegu pob rhyw derfyniad personol neu gyfenwol atynt hwy. Gellid felly chwanegu terfyniad cyfenwol; nid yn unig at enw y person, ond hefyd at enw y peth, a hyny heb wneyd y gair yn rhy hir. Yr ydys yn awr, wrth ysgoi amrosgöedd ar y naill law, yn syrthio i anghysondeb ar y llaw arall; gan ddywedyd 'philosophyddol,' pan y dylid dywedyd *philosophyddiaethol*. *Yr hyn a berthyn i'r athronydd* a arwydda 'philosophyddol,' ac nid *yr hyn a berthyn i athroniaeth;* eithr yr ystyr olaf a fydd yn ngolwg siaradwyr, yn fynych iawn, pan arferont y gair. Gellid ysgoi amrosgöedd ac anghysondeb pe'r arferid *philosoph* yn lle 'philosophyddiaeth,' a phe'i treiglid fel hyn—philosoph, philosophol, philosophaidd, philosophydd, philosophyddol, &c.; neu yn hytrach yn y dull mwy Cymreig hwn,—ffilosoff, &c.]

¶ Na dderbynier i'r Gymraeg y terfyniadau clasurol *-a*, *-æ; -us*, *-i; -um*, *-a; -is*, *-es; -on*, *-a;* megys y gwneir yn fynych i'r Saesneg.

(*a*) Yn lle *formula*, *formulæ* (*Ff.* formule); dyweder fformul, fformulau.

(*b*) Yn lle *focus*, *foci*, dyweder ffoc, ffociau.

(*c*) Yn lle *datum*, *data*, dyweder dât, datau; neu ynte dawd, dodion.

(*d*) Yn lle *analysis*, *analyses* (*Ff.* ac *Ell.* analyse), dyweder analys, analysau. *Myn.:*—analysu.

(*e*) Yn lle *phenomenon*, *phenomena* (*Ff.* phenomene, *Ell.* phänomen, *Ysp.* fenomeno), dyweder ffenomen, ffenomenau.

¶ Bwrier ymaith yr *e* fud o eiriau Seisnig a Ffrengig a ddyger i'r Gymraeg.

*Sylw.*—Y mae llawer *e* Roegaidd ag sydd yn fud yn y Ffrancaeg yn llafaredig yn y Saesneg. Os bydd hi yn fud yn y Ffrancaeg, gwrthoder hi.

catastrophe (*Gr.* katastrophê)—catastroff.
drame (*Gr.* drama)—dram *neu* dramawd.
episode (*Gr.* epeisodos)—episod *neu* episawd.
Europe—Europ [seinier *Eu* fel yn euraidd].
Parnasse (Parnassus)—Parnass.
crise (*Ll.* a *Gr.* crisis)—cris.
mandate (*Ll.* mandatum)—mandat.

peinture (*Ff.*)—paentur.
private (*Ll.* privatus)—prifat.
profile (*Ff.* profil)—proffil.
prologue (*yn yr Ell.* prolog)—prolog.
balustre [*ffurf Ffrengig*]—balustr.
balustrade (*Ff.*)—balustrad neu balustred.

Gellir, os myner, arfer y terfyniad Cymreig *ed*, yn lle *atum*; It. *ata*; Ysp. *ada*; Ff. ac S. *ade*, *ate*; gan fod *ed* yn gyttrasol ac yn gyfystyr a hwynt oll.

¶ Tröer *gue* a *que* yn *g*; megys,

prologue (*Gr.* prologos)—prolog.
clique—clig.

¶ Tröer *c*, *cc*, a *k* yn gyffredin, yn *g*, ac weithiau yn *ch*; megys,

Catholic—Catholig.
musk (*Ff.* musc, *Ll.* muscus)—mwsg.
succus (*Ll.*)—sug.
coccus—coch.

¶ Os ceir achos i ddodi terfyniad Cymreig yn lle terfyniad estronol, naill ai er mwyn rheoleiddio yr acen, neu er mwyn rhywbeth amgenach, bydded y terfyniad hwnw mor debyg ei lun a'i sain, ag y byddo modd, i'r terfyniad a fwriwyd ymaith.

Er enghraifft, y mae *carbiniwr* yn well Cymreigiad o *carbineer* (*Ff.* carabinier) na 'carbinydd;' *clysyr* yn well Cymreigiad o *clysoir* na 'clysell,' neu 'clysadur;' a *mechaneg* yn well Cymreigiad o *mechanics* (*Ell.* mechanik) na 'mechanaeth.'

¶ Byddai yn fuddiol i'r dysgydd gadw yn ei gof y rheolau hyn hefyd, er na raid iddo mo'u harfer bob amser :—

(*a*) Gwell arfer *ydd*, *yddion*, nag *wr*, *wyr*, neu *or*, *orion*, i arwyddo gweithredyddion direswm, diystlen, neu anhysbys eu hystlen.

(*b*) Arferer *yr*, neu *adur*, neu *ell*, neu *el* i ddynodi offerynau.

(*c*) Arferer *aeth*, neu *iaeth*, *oniaeth*, ac weithiau *eg*, i ddynodi cyflwr, gwybodaeth, celfyddyd, &c.

(*d*) Arferer *awd* i ddynodi gwaith llenorol, neu gerddorol. Gellir arfer *awd* agos bob amser yn lle y rhan-air *odia* (Gr.), *œdia* (Ll.), *edy* (S.); megys, *tragawd* am *tragedy*.

(*e*) Arferer *iad* i ddynodi gweithred.

(*f*) Arferer *ol* neu *ig* yn derfyniad cyfenwol i arwyddo *perthynol i'r* hyn a fynegir yn yr enw.

(*g*) Arferer *us* neu *og* yn derfyniad cyfenwol i arwyddo *llawn o'r* peth a olygir yn yr enw. Heblaw hyny, gellir arfer *og* i arwyddo *meddiannol ar*.

(*h*) Arferer *aid* i arwyddo *gwneuthuredig o*, a *gorchuddiedig â*.

Gellir arfer *in* hefyd weithiau i arwyddo *gwneuthuredig o*.

(*i*) Chwaneger *aidd* at enw i arwyddo *o natur*, a *tebyg i*.

(*j*) Chwaneger *aidd* at gyfenw hefyd i arwyddo *lled* neu *go*; o herwydd *gwanhau ystyr* cyfenw y mae *aidd*.

*Terfyniadau Enwau Priod.*

¶ Cymreigier enwau ysgrythyrol, yn ben, corff, a chynffon, o ran llythyreniad, acceniad, a llafariad; eithr na thröer *u* yn *w* oddigerth yn ymyl *i*, ac weithiau o flaen *e;* megys,

Boaz—Boas.
Festus—Ffest.
Job—Iof.
Jacob—Iagof.
Samuel—Samwel.
Jerusalem—Caersalem.

¶ Dyosger yr enwau clasurol mwyaf cynnefin o'r terfyniadau *us, um,* ac yn fynych oddiwrth *os, as, es, is, a, e,* yn enwedig mewn geiriau amrysill, ac weithiau oddi wrth yr *i* yn *ius, ium, ia, ias*. Eithr gadawer enwau lled anghynnefin yn ddigyfnewid; megys,

Paulus (*Gr.* Paulos)—Paul.
Nilus (*Ff.* Nil)—Nil.
Tarentum (*Ff.* Tarente)—Tarent.
Athenagoras (*Ff.* Athenagore)—Athenagor.
Demosthenes (*Ff.* Demosthene)—Demosthen.
Africa (*Ff.* l' Afrique)—[yr] Affric, *neu* Affrig.
Melpomenê (*Gr.*)—Melpomen.
Octavius (*Ff.* Octave)—Octaf.
Julius (*Ff.* Jules)—Iwl.
Elysium—Elys.
Italia (*S.* Italy)—yr Ital.
Persia (*Ff.* la Perse)—Pers.

*Sylw.*—Gadawer *a* ac *e* benywaidd, os gwelir y bydd eu tynu ymaith yn gwneyd enwau benywaidd yn gydffurf â rhai gwrywaidd.

¶ Os na fwrir ymaith *ius* ac *ium,* tröer hwynt yn *iws* ac *iwm;* megys,

Marius—Mariws.
Actium—Actiwm.

¶ Tröer y rhan-air *rix* [cyfystyr a'r Ll. *rex;* Gwydd. *ri, rig;* Cymr. *rhi*] yn *rig;* megys,

Dumnorix (*gen. case* Dumnorigis)—Dumnorig.

¶ Bydded yr un ffurf ar enw person, yn noeth, ag a fydd arno pan chwaneger ato derfyniad lliosog, neu derfyniad cyfenwol; megys,

Addaf (nid Adda), Addafiaid.
Moesen (nid Moses), Moesenig.
Platon (nid Plato), Platoniaid, Platonig.

## III. Y LLYTHYRENAU PERFEDDOL NEU GANOLIG.

¶ Tröer *ll* yn gyffredin yn *l;* megys,

Coralline—Cwrelaidd.
Hallelujah—Haleliwia.
Apollos—Apolos, neu Apol.

¶ Meddaler blaen-lythyren newidiadwy rhan olaf gair cyfansawdd, hyd y galler; megys,

tramcar—tramgar.
clysopompe—clysbwmp.

¶ Gadawer i enau y Cymry feddalu a chwytholi y llythyrenau newidiadwy mewn sefyllfaoedd eraill; a phan y delo'r geiriau yn hysbys, dechreuer eu hysgrifenu yn ol y dull y seinier hwynt. Eithr gall ysgrifenwyr pan welont achos, achub y blaen ar siaradwyr trwy droi llythyrenau cyntefig yn llythyrenau tarddedig yn gyttunol â'r enghreifftiau hyn :—

carcer (*Ll.*)—carchar.
dakrau (*Gr.*)—dagrau.
discipulus (*Ll.*)—dysgybl.
elementum (*Ll.*)—elfen.
papilio (*Ll.*)—pabell.
letter (*Ll.* litera)—llythyr.
numerus (*Ll.*)—nifer.
peccatum (*Ll.*)—pechod.
plumb (*Ll.* plumbum)—plwm.
sapo, saponis (*Ll.*)—sebon.
medicus (*Ll.*)—meddyg.

¶ Tyner ymaith lythyren wan a hebgoradwy, yn enwedig os bydd yn y sill nesaf i'r olaf mewn gair; megys,

mackerel (*It.* maccarello)—macrell.
parasol (*Ff.*)—parsol.
telegraph—telgraff.

## ENGHREIFFTIAU CYFFREDINOL.

Act-s,—act-au; actor-s—actor-ion; actress—actores; to act—actio.
Æsthetics (*Ff.* esthétique)—estheteg; æsthetical—esthetegol.
Alexander—Alisander; Alexandria—Alisandri; Alexandrian—Alisandrïol; Alexandrine-s—Alisandrig-ion, neu Alisandrin-au (*treigliad afreolaidd*).
Algiers (*Ff.* Alger)—Alger; Algerians—Algeriaid.
Alcove-s (*Ysp.* alcoba)—alcof-au.
Alkali-es (*Ar.* al kali)—alcali, alcalïau; alkalify—alcalïo; alkaline—alcalïaidd.
Alum—alum neu alwm; alumish—alumaidd; alumine—alumin; aluminous—aluminus; aluminium—aluminiwm; to alum—alumo; alumed—alumedig.
Alchemic (*Ar.* al-kimia)—alchemeg; alchemical—alchemegol; alchemist—alchemegwr.
Alcohol (*Ar.* al kohl)—alcol; alcoholic—alcolaidd; alcoholise—alcoleiddio.
Allopathy (*Gr.* allos—arall; pathos—clefyd)—alopatheg; allopathic—alopathegol; allopathist—alopathegwr.
Amazon-s (*Gr.* a—heb; mazos—bron)—Amason-iaid; Amazonian—Amasonaidd.
America (oddiwrth enw Amerigo Vespucci)—Amerig; Americans—Amerigiaid; Americanism—Amerigaeth.
Anemone (o'r *Gr.* animos—awel)—anemon.
Anthology (*Gr.* anthos—blodeuyn; lego—casglu)—antholog; anthological—anthologol.
Antique (*Ff.*, *Ll.* antiquus)—antig; rather antique—antigaidd; antiquity—antigaeth; antiquate—antigeiddio.
*Apocryphal* (*Gr.* apo—oddiwrth; kryptô—cuddio)—apocryffol; apocrypha—*apocryffolion.*

Apothecary (*Gr*. apothekê)—apothegwr.
Arabesque—Arabaidd; Arabic—Arabig.
Aristoteles (*Gr*,)—Aristotel; Aristotelian—Aristotelig.
Arcade-s (*Ff*. o'r *Ll*. arcus—mŵd)—archad-au, neu arcadau.
Asphaltum—asffalt; asphaltic—asffaltig, asffaltaidd.
Asbestos (*Gr*., *Ff*. asbeste)—asbest; asbestine—asbestaidd.
Asphodel (*Gr*.)—asffodel.
Asylum (*Ll*., *Ff*. asyle, neu asile)—asyl, neu asylfa.
Athlete (*Gr*.)—athlet-iaid; athletic sports—campau athletig.
Attic (*Gr*. attikos)—attig; atticism—attigaeth.
Attorney-s (*Ll. isel* attornatus)—twrnai, twrneiod; attorneyship—twrneiaeth; attorney-general—pen-twrnai.
Automaton, automata (*Gr*. autos—hunan; maô—symmud)—automat-au; automatical—automatol neu automataidd.

Bagatelle (*Ff*.)—bagatell *neu* bagatel.
Bailiff (*Ll*. bajulus)—beili, beiliaid.
Balcony (*Ff*. balcon)—balcon-au.
Baluster (*Ff*. balustre)—balustr.
Basalt—basalt; basaltic—basaltig.
Bastile (*Ff*. bastille)—bastil.
Barrack (*Gael*. barrachad)—barach-au.
Bassoon (*Ff*. basson)—basson-au.
Bazaar (*Pers*.)—basar-au.
Beelzebub (*Heb*., *Ff*. Belzebuth)—Belsebuth.
Belgium—Belg; Belgians—Belgiaid.
Bethlehem—Bethlem.
Bedouin (*Ar*. Bedawi)—Bedwin-iaid.
Bicycle (*Gr*. bi—dau; kyklos—cylch)—bisycl-au; *neu ynte*, deuchwyl-ion.
Blockade (*Ff*. blocus)—bloc *neu* blociad; to blockade—blocio.
Botany (*Gr*. botanikê)—botaneg; botanical—botanegol; botanise—botanegu; botanist—botanegwr.
Borax (*Ar*. burag)—boras *neu* borag.
Bosphorus—Bosffor.
Brahman (*Sans*.)—Braman-iaid.
Brigade (*Ff*.)—brigad; brigadier—brigadwr.
Brigand-s—brigant-iaid.
Brazil (*Ff*. Brésil)—Brasil.
Brussels—Brussel.
Burlesque (*Ff*., *It*. burlesco)—burlesg-au; to burlesque—burlesgu.

Cabriolet-s (*Ff*.)—cabriolan-au.
Cadet-s (*Ff*.)—cadet-iaid.
Caliber (*Ff*. calibre, *Ar*. calib)—calibr.
Caliph-s (*Turc*. khalif)—califf-iaid.
Camphor (*Ind*. capur)—camffor; camphorated—camfforedig; camphoric—camfforig.
Canary Islands—Ynysoedd Canari; canary bird-s—serin-od.
Cancer (*Ll*.)—cancr; cancerous—cancraidd; cancerate—cancro *neu* cancreiddio.
Cantata-s (*It*. *Ff*. cantate)—cantad-au; eithr gwell 'alawgan-au.'
Caravan-s (*Pers*. carwan)—carfanas-au.
Carbon (*Ll*. carbo—glo)—carbon; carbonic—carbonig; carbonaceous—carbonaid *neu* carbonaidd; carbonise—carboneiddio.
Caricature (*It*. caricatura)—carichatur; to caricature—carichaturo; caricaturist—carichaturwr.
Carmelite-s—Carmeliad, Carmeliaid.
Carpet-s—carped-au.
Caserne (*Ff*.)—casern-au.
Cassimere (*Ff*. casimir)—casmir.
Casino-s (*It*.)—casin *neu* casan-au.

Catalogue-s (*Gr.* kata—i lawr; logos—cyfrifiad)-cathlog-au.
Catholic (*Gr.* kata holos—trwyddo oll)—Catholig; Catholics—Catholigiaid; Catholicism—Catholigaeth; catholicity—catholigrwydd.
Celt-s—Celt-iaid; Celtic—Celtig.
Cigar-s (*Ysp.* cigarro)—sigar-au.
Cithern *neu* cittern (*Gr.* kithara)—cithar-au.
Clique-s (*Ff.*)—clig-au.
Clavier (*Ff.*)—clafyr.
Clysoir (*Ff.*)—clysyr.
Clysopompe (*Ff.*)—clysbwmp.
Cocoa (*Ysp.* coco)—coco.
Chocolade (*Ff.* o coco)—cocolad.
Comedy (*Gr.* komôdia)—comawd, comodau; comic—comodol; comedian-s—comodydd-ion. Pan arferir y gair *comic* mewn ystyr rhydd cyfieithir ef yn 'digrif.'
Communist-s—communist-iaid; communism—communistiaeth.
Conclave (*Ll.*)—conclaf.
Concordat (*Ll. 3ydd person unigol* o concordo)—concordat.
Consul-s (*Ll.*)—consul-iaid; consulship—consulaeth; consulate—consulfa.
Corporal (*Ff.* caporale)—caporal-iaid.
Corsaire (*Ff. It.* corsaro)—corsar-au.
Crisis (*Gr.*)—cris-oedd; critical—crisol.
Cuirass (*Ff.* cuirasse)—curas; cuirassier—curaswr-wyr.
Cynic (*Gr.* a *Chymr.*)—cynig; cynics—cynigwyr; cynicism—cynigaeth.

Damascus (*Ff.* Damas)—Damasg.
Daniel—Deiniol.
Danube—Donwy.
Defile (*term milwrol*)—deffilio.
Diascope-s—diascop-au.
Diplomate *neu* diplomatist (*Ll.* diploma)-diplomat-iaid; diplomatic—diplomatig; diplomacy—diplomataeth.
Drama-s (*Gr.*)=dramawd, dramodau; dramatist—dramodwr; dramatic—dramodig; dramatize—dramodi.
Dynamic (*Gr.* dynamikos)—dynamig; dynamics—dynameg; dynamite—dynamid [*Treigliad afreolaidd*].

Elizabeth—Elsbeth; Elizabethan—Elsbethig.
Epicurus—Epicur; Epicurean—Epicuraidd; Epicurism—Epicuraeth.
Episode-s (*Gr.* epeisodos)—episawd, episodau; episodical—episodol.
Elixir (*Ar.* al iksir)—elisir *neu* elicsir.
Ethics (*Gr.* o ethos—arfer)—etheg; ethical—ethegol.

Fossil-s (*Ll.* fossilis)—ffosyl-au; fossiliferous—ffosylog; fossilist—ffosylydd; fossylise—ffosyleiddio.
Frigate-s (*It.* fregata)—ffrigad-au; frigatoon—ffrigadan.

Grenade (*o'r Ll.* granum—grawn)—grenad; grenadier—grenadwr.

Hyacinth (o'r *Gr.* hyacinthos)—iacinth.
Hydraulic (*Gr.* hydraulikos; o hydrô—dwfr; aulê—pibell)—hydraulig; hydraulics—hydrauleg [Treigliad afreolaidd].

Idea-s (*Gr.*, *Ff.* idée)—ide-on; ideal—ideol; idealise—ideoli; idealisation—ideoliad; idealism—ideoliaeth; idealist—ideolydd; idealistic—ideolyddol *neu* ideoliaethol; ideality—ideoldeb [eithr gwell brydlun, brydluniol, &c., &c.].
India (*Ff.* l' Inde)—yr Ind; Indian—Indig.

*Jacob—Iagof.*
*Jasmine, neu jessamine* (*Pers.* jasmin)—iasmin.

**Mameluke** (*Ar.* mamlûc)—mamluc-iaid.
**Mahogany** (*Am.* mahogon)—mahogon.
**Margrave** (*Ff.*, o'r *Ell.* mark—ffin; graf—arglwydd)—margraf-iaid; margraviate—margrafiaeth.
**Marseilles** (*Ff.* Marseille)—Marseil.
**Mathematics** (*Gr.* mathematikê)—mathemadeg; mathematical—mathemadegol; mathemetician—mathemadegwr.
**Mechanics** (*Gr.* mechanê)—mechaneg; mechanic *neu* mechanical—mechanegol; mechanician—mechanegwr. *Sylw.*—Y mae ystyr arall i mechanic, mechanical, mechanism; sef, peiriannydd, peiriannol, peirianwaith.
**Microscope** (*Gr.*) Y mae 'mwyadur' a 'chwyddwydr' ill dau yn eiriau da a dealladwy.
**Modern** (*Ll.* modernus)—modern; modernise—modernu.
**Mosque** (*Ff.* mosquée)—mosg.

**Naive** (*Ff.* naïf, naïve)—naif; naivte—naifder.
**Narcotic** (*enw*)—narcoth; narcotic (*cyfenw*)—narcothig.
**Narcissus** (*Gr.* narkissos)—narcis, neu narchis.

**Obelisk-s** (*Gr.* obeliskos)—obelisg-au.
**Oligarch-s** (*Gr.*)-oligarch-iaid; oligarchy—oligarchaeth; oligarchical—oligarchaethol.
**Opera-s** (*Ll.* opus, opera)—oper-au; operatta-s—operan-au; operatic—operol; opera-house—operdy; neu ynte, operawd, operodau, operodan-au, operodol, opperotty.
**Optimist-s** (*Ll.* optimus—goreu)—optimist-iaid; optimism—optimistiaeth; neu ynte, optimydd-ion, optimyddiaeth.
**Oratorio-s** (*Ll.* oratorium)—oratorawd, oratorodau; oratory—oratorfa.
**Orchid-s** (*Gr.* orchis)—orchid-iau.
**Organ.** Gwell peidio âg arfer hwn oddi eithr yn enw ar offeryn cerdd.
**Orthodox, &c.** Arferer 'iawngred,' &c.

**Pagoda-s** (*Pers.* put—delw; gada-ty)—pagod-au.
**Pallisade-s** (*Ll.* palus—pawl)—palis-au.
**Paragraph-s** (*Gr.*)—pargraff-au; paragraphic—pargraffig.
**Parasol-s** (*Ff.*)—parsol-au.
**Parody** (*Gr.* parôdia)—parodl-au; to parody—parodli; parodist—parodlydd.
**Parsley** (*Ff.* persil)—persyll.
**Pendulum** (*Ll.*, *Ff.* pendule)—pendul-au.
**Petroleum** (*Ff.* pétrole)—petrol.
**Photograph-s** (*Gr.*)—ffotograff-au; photographic—ffotograffig; photographer—ffotograffwr; photography—ffotograffaeth.
**Polytechnic** (*Gr.* polys—llawer; technê—celf)—polytechnig.
**Problem-s** (*Gr.* problema)—proflem-au; problematic—proflemaidd.
**Profile** (*Ff.* profil)—proffil; to profile—proffilio.
**Programme-s** (*Ff.*, *Gr.* programma)—program-au.
**Proselyte-s** (*Ff.*, *Gr.* proselytos)—proslyt-iaid; to proselytise—proslytio proselytism—proslytiaeth.
**Pyrometer** (*Gr.* pyr—tan; metron—measure)—pyrometr; pyrometric—pyrometrig.
**Prague** (*Ell.* Prag)—Prâg.

**Rabbi** *neu* rabbin (*Heb.* rabi)—rhabin-iaid; rabbinic—rhabinig; rabbinism—rhabiniaeth; rabbinist—rhabiniaethwr.
**Rhapsody** (*Gr.* rhaptô—gwnio; ôde—cân)—rhapsawd, rhapsodau; rhapsodical—rhapsodol, rhapsodaidd; rhapsodist—rhapsodwr.
**Rice** (*Ff.* riz; *It.* riso)—rhis.
**Rhine** (*Ell.* Rhein)—Rhein.

**Saltpetre** (*Ff.* salpêtre)—salpetr.
**Saracen** (*Ff.* Sarrazin)—Sarasin-iaid; Saracenic—Sarasinig.

**Sardonic laugh—chwerthiniad Sardonig.**
**Sardine-s—sardin-od.**
**Serraglio (*It. Ff.* Serail)—Serail.**
**Sesame (*Ll.* sesamum)—sesam.**
**Sirocco (*It. Ff.* siroc)—sirog.**
**Syrup (*Ff.* sirop)—syrop.**
**Spinage (*It.* spinace)--yspinag**
**Synthesis (*Ff.* synthèse)—synthes; synthetic—synthesig.**
**Sweden (*Ff.* la Suède)—Yr Yswêd.**
**Switzerland (*Ff.* la Suisse)—yr Yswiss *neu* yr Yswissdir.**

**Tariff (*Pérs.* tarif)—tariff.**
**Technic *neu* technical (*Gr.* technikos; technê—celf)—technig; technicality—technigaeth; technics—techneg; technology—technolog; technological—technologol. Eithr gwell celfig, celfigaeth, celfeg, celfoniaeth, celfoniaethol.**
**Telegraph (*Gr.* têle—pell; graffô—ysgrifo)—telgraff-au; telegraphic—telgraffig; telegraphist—telgraffydd; to telegraph—telgraffu; telegraphy—telgraffaeth; telegram-s—telgraffeb-au. "Telegram formed by false analogy," medd Dr. Smith yn ei *English Grammar*, tudalen 102.**
**Telephone-s (*Gr.* têle—pell; phôneô—seinio)—telffôn-au; telephonic—telffonig; to telephone—telffoni; a telephonic message—telffoneb-au.**
**Telescope (têle—pell; scopiô—gweled)—telscop-au *neu* telescopyr-iau; telescopic—telscopig.**
**Theatre-s (*Gr.* theatron, *Ysp.* teatro)—teatr-au; theatrical—teatrol; theatrica—lsteatrolion.**
**Terrace (*Ff.* terrasse)—tiras *neu* terras-au.**
**Topography (*Gr.* topos—lle; graphô—darlunio)—topograff; topographer—topograffwr; typographical—topograffol.**
**Tragedy (*Gr.* tragos—bwchgafr; ôdê—cân)—tragodl *neu* tragawd, tragodau; tragic—tragodlig *neu* tragodol; tragedian—tragodlydd *neu* tragodwr; tragédienne—tragodles *neu* tragodes.**
**Trepan (*Ff. Gr.* trupanon)—trepan-au; trepanning—trepanu.**
**Tribune-s (*Ll.* tribunus)—tribun-iaid; tribune, *neu* tribunal—tribunfa; tribuneship—tribuniaeth.**

**Ultramontanist-s (*Ll.* ultra—tu hwnt; montanus—mynyddol, *h.y.*, tu hwnt i'r Alpau; *Ysp.* tramontano)—tramonwr *neu* tramontwr, tramontwyr; ultramontane—tramontwraidd; ultramontanism—tramontwriaeth.**
**Ulysses—Ulys.**

**Vandal-s—Ffandal-iaid; Vandalic—Ffandalaidd; Vandalism—Ffandaliaeth.**
**Vatican (*Ll.* Vaticanus)—Ffatigan.**
**Venice—Gweneth; Venetian (*enw*)—Gwenethwr; Venetian (*cyfenw*)—Gwenethig.**
**Vienna (*Ff.* Vienne)—Gwien *neu* Gwienna.**

**Xantippe (*gwraig anynad Socrat*)—Santip.**

**Yacht-s (*Isell.* jagt)—iacht-au. Eithr gwell pleserfad-au.**

**Zebra-s (*Ysp., Ff.* zebr)—sebr-od.**
**Zinc (*Ff., Ell.* zink)—sinc.**

# MYNEGAI.

Cyflëir yma, yn ol trefn yr egwyddor, y geiriau, y rhagsillau, y terfyniadau, a'r lythyrenau y dywedir rhywbeth am danynt yn y pedwar 'Cam.' Os na cheir o hyd yn y Mynegai i'r gair a geisier, chwilier yn y Cynnwysiad pa beth a ddywedir am y *dosbarth* o eiriau y perthyn y gair hwnw iddo.

